# HANES YR HEN GYMRY;

EU DEFODAU A'U SEFYDLIADAU,

O'R CYFNOD BOREUAF HYD YR AMSER PRESENOL.

GAN Y PARCH. R. W. MORGAN, B. D., C. P.

TREGYNON.

WEDI EI GYFIEITHU O'R ARGRAFFIAD SAESONAEG

EFROG NEWYDD:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN JOHN M. JONES.
MDCCCLX.

# RHAGYMADRODD.

DYMA gyfieithiad o "Lyfr Morgan" wedi ei orphen weithian, yn yr hwn y gall y Cymro uniaith weled amryw bethau rhyfedd a dyddorawl mewn cysylltiad â hanesyddiaeth ei wlad a'i genedl, na wyddai fawr am danynt o'r blaen. Y mae dysg a medr a gwladgarwch yr Awdwr yn ddigon hysbys ar hyd a lled y Dywysogaeth, fel nad oes achos i mi helaethu dim ar y pyngciau hyn er mwyn cymmeradwyo y gwaith hwn i sylw a chefnogaeth fy nghydwladwyr.

Dywed yr Awdwr yn ei Ragymadrodd Saesonig nad yw hwn ond talfyriad o waith mwy a helaethach ag sydd ganddo yn barod i'r wasg. Yn hwnw yr ydym yn deall rhoddir yr awdurdodau am bob ffaith a dygwyddiad a gofnodir yn eglur a chywrain ar waelod y dalenau. Ni oddefai ein gofod i ni roddi yn y gyfrol fach hon ond y rhestr o'r awduron a welir ar y dechreu.

Y mae pobl yn rhy gyffredin yn coelio haneswyr tramor, gyda golwg ar yr amgylchiadau a gymerasant le ym Mhrydain yn "y dyddiau gynt, blynyddoedd yr hen oesoedd," o flaen brutiau a thraddodiadau eu gwlad eu hunain. Ai iawn hyn? Ai rhesymol yw? A goeliasom ni hysbysiadau y Rwssiaid yn rhyfel y Crimea yn hytrach nag eiddo ein swyddogion milwrol ein hunain? Naddo ddim. Paham gan hyny y gwnawn gymmaint o anghyfiawnder â'r hên wroniaid hyny, y rhai a ymffrostient yn eu cyswynair gwladol—Y GWIR YN ERBYN Y BYD?

Y mae Mr. Morgan wedi rhoddi "golygiad Prydeinig o Hanes Prydain" yn y llyfr yma. Y mae o'r herwydd yn haeddu ystyriaeth arbenig pob Cymro. Ond gormod yw dysgwyl i bob un a'i darlleno gydweled yn uniongyrchol â syniadau yr awdwr—nid ar unwaith y mae dyn yn dyfod i newid ei farn. Yn wir teg yw adrodd nad wyf fi fy hun yn hollol o'r un farn a'r awdwr ymhob peth. Er hyny y mae fy ngwaith yn golygu ei lyfr yn dangos yn amlwg fy mod yn cytuno yn gyffredinol a'i olygiadau.

Y mae yn llawn bryd i ni roddi parch dyledus i lênyddiaeth gynhenid Cymru. Po mwyaf yr astudiwn ein hên hanesion, mwyaf o arwedd gwirionedd a ddangosant. Yn wir, ar ol myned at amser Iwl Caisar, nid oes genym ond ein traddodiadau gwladol ein hunain i syrthio arnynt. A thra nad oes dim felly i'w gwrthdaro, gwell o lawer, yn fy marn I, yw derbyn eu tystiolaeth hwy na rhagfarn genfigenllyd y rhai hyny ag sydd a'u holl fryd ar iselhau Cymru, Cymry, a Chymraeg.

Oherwydd bod dull Mr. Morgan o ysgrifenu Saesneg yn llawn, geirweddol, a hyawdl, nid hawdd oedd ei roddi mewn gwisg Gymreig. Am hyny, da genyf ddwyn tystiolaeth o blaid medrusrwydd y cyfieithydd, T. AB GWILYM, o Ruthyn, yr hwn a gyflawnodd ei orchwyl yn dra llwyddianus. Ymha beth ynte yr oedd gwaith y golygydd yn gynnwysedig? Dim ond mewn edrych dros y cyfieithiad, a diwygio yma ac acw gystrawen yr iaith. Nid anturiais wneuthur dim cyfnewid yn yr "Hanes" ond lle y gwyddwn y buasai yr Awdwr yn rhoddi ei gydsyniad. Ac nid yw y cyfryw gyfnewidiadau ond anaml a dibwys.

AB ITHEL.

ALBAN ELFED, 1858.

# HANES YR HEN GYMRY;

## EU DEFODAU A'U SEFYDLIADAU,

## O'R CYFNOD BOREUAF HYD YR AMSER PRESENOL.

GAN Y PARCH. R. W. MORGAN, B. D., C. P.

TREGYNON.

WEDI EI GYFIEITHU O'R ARGRAFFIAD SAESONAEG

EFROG NEWYDD:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN JOHN M. JONES.
MDCCCLX.

tad yr Ioniaid neu yr Helleniaid (y rhai wedi hyny a elwid Groegiaid); Tubal, tad yr Iberiaid, y rhai a elwir yn awr Yspaeniaid; Mesech, neu Mosoch, tad y Moscofiaid, ond a adnabyddir yn fwy cyffredinol yn awr dan yr enw Rwsiaid; a Tiras, tad y Thraciaid. Y saith genedl hyn, hanedig o Japheth, a feddianasant mewn amser yr holl Ogledd a'r Gorllewin, oddiwrth y Môr Gogleddol hyd at y Môr Dû, ac oddiwrth y Mynyddoedd Uralaidd hyd at làn y Môr Werydd.

Dyben y llyfryn bychan hwn ydyw rhoddi brasluniad o Hanes yr Hynaf o'r Achau hyn yn unig—sef, Plant Gomer.

Y cofiant Moesenaidd ydyw yr unig ysgrifen-brawf Dwyreiniol o awdurdod a fedda hanesyddiaeth ar y pwngc o boblogiad cyntefig y byd gan blant Noah. Ni wnaeth ymchwiliadau diweddar fawr fwy na chadarnhau ac egluro adroddiadau hwnw. Nid yn unig y mae y traethiad ysgrythyrol yn eglur ac argyhoeddiadol ynddo ei hun, ond y mae hefyd yn dehongli—yr hyn nad yw unrhyw hanes arall yn ceisio ei wneuthur, y gorddangosiad o unóliaeth gwreiddiol holl ieithoedd a chenedloedd Ewrop. Un teulu oeddynt, ac o'r un dafod-iaith, ar y dechreu; a chynyrchwyd yr amrywiaeth a geir yn awr yn eu plith, yn raddol a diarwybod gan wahaniaeth hinsawdd, lluniaeth, crefydd, arferion, addysg, a llywodraeth. Mae holl ddynolryw o un gwaed—oll yn dyfod yn ddechreuol o'r un man, sef, Armenia yn Asia; ond yn yr unoliaeth hyn rhyngodd bodd i Dduw ar fod amrywiaethau o gyfansoddiadau ac ardymherau er mwyn eu rhag-gymhwyso i'r amrywiol hinsoddau a bennodwyd ganddo gynt i fod yn derfynau eu preswylfëydd. (Act. xvii. 26.) Mae yr amrywiaethau hyn yn cyfansoddi cynnifer o wahanol wladyddiaethau, yn meddu ar gynnifer o wahanol arbenigion. Mae y cyfryw wladyddiaethau yn drefniadau mawrion a gweledig o eiddo Duw. Mae Ewrop fyth yn rhanedig rhyngddynt bron yn yr un modd ag y gorchymynodd yr Hollalluog i'w Patrieirch ei rhanu rhyngddynt hwy eu hunain a'u plant. "O'r rhai hyn," sef saith mab Japheth, "y rhanwyd Ynysoedd y Cenheloedd yn eu gwledydd, pawb wrth eu hiaith eu hun, trwy eu teuluoedd yn eu cenhedloedd." (Gen. x. 5.) Yr oedd gan bob un o'r cenhedloedd hyn ei wlad ei hun wedi ei rhoddi iddi, er diwyllio y ddaear, ac addoli yr Arglwydd Dduw, gwneuthurwr pob peth gweledig ac anweledig. Mae

yn amlwg y buasai gwaith y cenedloedd hyn yn ceisio cymeryd treftadaeth y naill oddiar y llall, yn gam mawr ac anghyfiawnadwy;—yn taro yn uniongyrchol yn erbyn trefniad cyntefig Duw. Er hyny, y mae hanesyddiaeth, yn benaf, yn gynnwysedig o'r cyfryw ymgeisiadau—herwydd hyny y mae ei dalenau wedi eu hysgrifenu mewn gwaed. Ar y llaw arall, yr unig ryfeloedd cyfiawn yw y rhai a wneir gan genedl er amddiffyn gwlad eu cyn-dadau, a'u hawl anniddymadwy i lywodraethu eu hunain ynddi.

O raniadau presenol Ewrop, y mae Muscovi, neu Rwsia, yn dal i fod wedi ei phoblogi yn benaf gan ei llinach gyntefig—sef, plant Mesech; felly hefyd y mae Gâl, neu Ffraingc, gan y Celtiaid, cangen ddiweddarach o'r Cymry; Yspaen gan yr Iberiaid Celtaidd—cymysgedd o'r Celtiaid gyda hiliogaeth Tubal; Germani neu yr Almaen, gan hiliogaeth Togarmah, ail fab Gomer, ond wedi ymgymysgu yn helaeth â'r Magogiaid, neu Scythiaid; yr Eidal gan y Cymry, neu Umbri o ba rai yr hànodd yr hen Rufeiniaid a'r Eidaliaid Cisalpaidd diweddar. Ond cafodd yr holl genedloedd hyn drwy oresgyniadau olynol eu difeddianu drachefn a thrachefn o'u tiroedd a'u hiawnderau, a'r goresgynwyr tramor ym mhob un oeddynt y bendefigaeth a'r dosbarth llywodraethol. Cymry Cymru yn unig, drwy gyfnewidiadau yn agos i ddeugain canrif, ydynt yr unig bobl yn Ewrop—neu cyn belled ag y mae genym unrhyw hanes, yn y byd—ag sydd wedi cadw eu hiaith gysefin yn ddigyfnewid, a'u treftadaeth gyntefig fyth ym meddiant eu llînach a'u gwladyddiaeth eu hunain!

Y mae yn deilwng o sylw, a gadael allan yr Ysgrythyrau Hebreaidd, nad ydym yn meddu braidd ddim o gynyrchion llenyddol Asia ac Affrica gynt pan ynghanol eu gwareiddiad mwyaf. Nid yw Persia wedi gadael i'r oesau dylynol ond un emyn unigol o eiddo Zoroaster. Mae genym ychydig dudalenau toredig o hanesyddiaeth Caldea wedi eu dyogelu i ni yn llyfrau Josephus ac Eusebius. Mae yr Aipht wedi trosglwyddo i ni ddau ddifyniad byr o waith Manetho. Ni adawodd Phœnicia ddim i ni. Gadawodd Carthage dalfyriad o un o fôrdeithiau Hanno. Gellir cynnwys yr holl ddarnau hyn—yr unig weddillion llenyddol ag sydd wedi goroesi cwymp yr ymherodraethau a fuont unwaith yn tra-arglwyddiaethu ar ddynolryw ac yn gloddesta mewn gorwychedd a choethder cymdeithasol,

mewn deuddeg o ddalenau argraphedig. Oddigerth yr eithriadau gwaelion hyn, rhaid cyfansoddi hanesyddiaeth y cenedloedd yma oddiwrth y cyfryw gofadeiliadau sylweddol ag sydd wedi goroesi anrheithiadau amser, neu rhaid chwilio am dani yn sylwadau estroniaid.

Saif yr Ysgrythyrau Iuddewaidd ar eu penau eu hunain, nid yn unig o barth amrywiaeth ac arucheledd eu cyfansoddiadau, ond o barth eu gwerth hanesiol; hwynt hwy hefyd ydynt yr unig waith a gynyrchwyd erioed gan y Dwyrain gerbron yr hwn yr ymgrymodd y meddwl Japhethaidd. Syrthiodd yr holl ysgrifeniadau Semaidd eraill yn farw arno—yr Ysgrythyrau yn unig a gyffyrddasant â bywyd mwyaf mewnol dyn, ac a foddlonasant ddymuniadau cyffredinol ei enaid, o herwydd hyn ni pheidiant byth a bod yn brifwaith clasurol pob cenedl rydd—bwriadwyd hwynt gan eu Hawdwr Dwyfol i fod felly. Y mae yn annichonadwy i genedl ag sydd yn arferu darllen y Beibl fod yn genedl o gaethion; dyma y rheswm paham y mae gelynion rhyddid meddyliol ac ysprydol wedi bod bob amser yn wrthwynebol i'w rydd-ledaeniad.

O genedloedd Hen Ewrop, nid yw Llychlyn, yr Almaen, yr Hispaen, na Sarmatia, wedi gadael un linell o farddoniaeth neu hanesyddiaeth yn flaenorol i'r cyfnod Cristionogol. Er hyny gallwn gasglu yn ddyogel oddiwrth dystiolaethau Caisar ac ysgrifenwyr clasurol eraill nad oedd Gâl a'r Hispaen o ran cyfansoddiad gwledyddol a gwybodaeth filwrol ond ychydig, os dim, islaw Rhufain. Yn ol yr hanes a ddyry Plutarch, cwympodd dwy filiwn o Gaeliaid yn y deg rhyfelgyrch a ddygasant ym mlaen er amddiffyn eu gwlad yn erbyn Caisar. Collodd yr un Gaeliaid yn ystod ugain mlynedd o ryfel-gyrchoedd Napoleon Bonaparte, yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg, bum miliwn o fywydau. Gan hyny, rhaid nad oedd poblogaeth ac adnoddau y wlad yn amser Caisar wedi syrthio gymaint yn fyr o'r hyn oeddynt hanner cán mlynedd yn ol ag y tybir yn gyffredin. Yr oedd y dinasoedd wedi eu hamgaeru yn gadarn, a llawer o honynt yn glodfawr o ran prydferthwch eu hadeiladau; yr oedd y tir yn cael ei drin yn dda, gan y gellid cael adgyflenwad helaeth o ŷd ym mhob man i ystordai milwrol y Rhufeiniaid; gweithid y mŵn-gloddiau gyda medr a budd; yr oedd gwyddoniaeth adeiladu llongau, fel yr eglurai llynges y Venetiaid, wedi cyrhaedd enwogrwydd ymarferol

ym mhell tu hwnt i'r hyn a allai y Rhufeiniaid neu y Groegiaid ymffrostio ynddo. Yr oedd trafnidiaeth gyda Phrydain yn cael ei dwyn ym mlaen mewn ystyr helaeth, ac adgyfnewidion yn barhaus yn cael eu cludo o'i phorthladdoedd i'w chyngrheirwyr ar y Cyfandir. Eto, er yr holl brofion diamheuol hyn o wareiddiad sefydledig, mae Gâl gyn-Rufeinaidd yn wagle llenyddol,—nid oes un penill o'i hathronddysg, wedi nofio fel drylldarnau crwydredig i lawr atom ni ar hyd ffrŵd amser. Gan mai felly yr oedd yn Gâl, y mae genym achos llai i ryfeddu na addawodd yr Almaen, Llychlyn, na'r Hispaen, gymaint a phenill ar gôf a chadw mewn ysgrifen.

Fel arall yr oedd hi gyda Hen Brydain. Hi ydoedd sêdd Crefydd fawreddus Japheth, neu Grefydd bur y Cenedloedd; hyny yw, crefydd Noah a'i feibion. Unai ei llywodraeth eglwysig ynghyd swyddogaethau pwysig yr Heddynad, yr Offeiriad, yr Athronydd, a'r Athraw cyhoeddus. Pan y daeth gyntaf i gyd-darawiad â Rhufain, yr ydym yn gweled oddiwrth yr hanes a ddyry Caisar, yr ystyrid hi fel Ynys gysegredig y Gorllewin,—ac er fod miloedd o'r Gaeliaid yn gynefin a'i glánau, ei hangorfëydd, ei phorthladdoedd, a'i sefydliadau, eto, gwelai fod yn anmhosibl iddo ef, y munud y daeth nodweddiad gelynol ei ddarpariadau i'w herbyn yn hyspys, gael y wybodaeth leiaf ganddynt ar y pyngciau hyny. Dywed bod holl bendefigion Gâl yn cael eu haddysgu yn Athrofäau Derwyddol Prydain—bod eu profedigaeth weithiau yn para am ugain mlynedd o amser —bod y cylch addysg yn cynnwys y pyngciau dyfnaf mewn Athroniaeth Naturiol ac Arddansoddol, a bod diwylliant y côf yn cael ei ddwyn i'r fath berffeithrwydd fel ag y gallai llawer o'r efrydwyr adrodd ugain mil o linellau prydyddol pan y mynent. Parotoid ni gan y cyfryw ddarluniad i ddysgwyl canfod, mewn cysylltiad â Phrydain, gyflwr tra gwahanol o barth addysg, i'r gwagder hollol o bob gwybodaeth hanesiol a gyrhaeddai dros yr holl wledydd eraill yng Ngorllewin Ewrop. Ac y mae ymchwiliad yn profi allan o law gywirdeb ein rhag-ddysgwyliad. Yr ydym yn canfod bod Llenyddiaeth hollol Gymraeg wedi cael ei roddi i lawr yn yr Ynys hon o doriad cyntaf gwawr hanesyddiaeth hyd yr amser presenol; ac wrth gydmaru ei hadroddion cynaraf gydag adroddion Brut boreuaf y Dwyrain—sef, yr Ysgrythyrau Iuddewaidd, sŷnir ni wrth y cysondeb sydd rhyng-

yn cael eu gosod allan efallai mewn ffurf a goleuni newydd—a rhai yn wreiddiol. Er amser yn hir cyn yr ymgyrch Rhufeinig, y mae llenyddiaeth bur a chynhenid Prydain wedi cael ei chadw yn barhaus ym mhlith y Cymry. Mae Cymru, a gylchynir ar dair ochr gan y môr, ac ar y bedwaredd gan afon ddofn, a gorwyllt, yn ffurfio gyda'i thyrau mynyddig—ei chulffyrdd a'i glynoedd—ei ffynnonau a'i haberoedd afrifawl—ei llwyni crogedig—ei phawrleoedd toreithiog, y gaerfa fwyaf ardebaidd a'r fwyaf naturiol ac anhydraidd yn Ewrop. Mae pob bryn, pob cwm, yn orsaf filwraidd. O fewn ei chyffiniau—yn wersyll mewn rhyfel, yn llys barddol mewn heddwch—ni bu y delyn erioed yn ddistaw—ni ddiffoddwyd erioed ysbryd y bardd—ni phallodd calon y genedl erioed arllwys ei chyffröadau yn yr un iaith ag a ddygwyd gan Gymry Asia o'r Crimea a'r Caucasus. Mae pob ymgyrchwr tramor yn olynol a wnaeth ymgyrch yn erbyn Prydain, wedi rhoddi ei hanes ef ei hun o barth goruchafiaeth neu ddymchweliad Hawdd y gall yr efrydydd athronyddol ddolefain, "Yma yn y gyfran harddaf o'r ynys y mae âch gynhenid Prydain, pa rai y methodd yr holl ymgyrchoedd hyn eu difeddiannu o'u treftadaeth, neu eu hymddifadu o'u hiaith—pa beth yw yr adroddiad a roddant hwy am y cyflawniadau hyn, am hanesiaeth Prydain yn gyffredinol?" Mae hyny yn cael ei roddi yn y llyfr hwn, a gadewir i'r darllenydd pa bryd bynag y bydd y cyfryw hanes yn dyfod i wrthdarawiad â'r un gelynol neu dramor—megys y mae hanesion Brutanaidd ac eiddo y Cyfandir am yr un frwydr wedi bod ac yn debyg o fod bob amser yn groes i'w gilydd—benderfynu rhyngddynt.

Y dŷb a ddirgymmellid mor ddyfal, yn gyntaf gan Rufain Baganaidd, yna gan Rufain Babaidd, fod yr holl genedloedd oddieithr y ddwy oedd yn meddiannu Gorynysoedd bychain Groeg a'r Eidal yn anwaraidd, a ellir yn awr ei rhestru ym mhlith yr hên dybiau twyllodrus a gymhellid ar hygoeledd y canol oesau. Mae llenyddiaeth ddiweddar pan yn gwrth-hyrddio hyny yn ymddangos yn dueddol i ruthro i'r eithafnod cyferbyniol, ac i ommedd i Groeg neu Rufain foreuol unrhyw hanesion awduredig o gwbl. Gallwn wawdio hên wagfost Groeg a Rhufain, megys yr ydym yn gwneuthur ag eiddo y Chineaid, am restru y Prydeinwyr arswydol ym mhlith yr "anwariaid allanol," ac am wneuthur pob gwareiddiad arall yn ddim ond yr un dwfn lygredig ac anfoesol o'r eiddynt eu hunain. Rhaid addef ar yr un amser, na ddechreuodd y lywiadaeth Rufeinig ddim gyd â'r awduron cyntaf Lladinaidd, braidd ganrif cyn Iwl Caisar, a bod ooethiad yr oes gyn-hanesol, a allasai gynnyrchu Iliad, yn rhywbeth pell iawn yn wir oddiwrth fod yn ffug-chwedl. Gall y bedwaredd ganrif ar bymtheg longyfarch ei hun pe gallai droi allan ffugchwedl o'r un argraff anfarwol.

Mae disgyniad Troianaidd y Prydeiniaid wedi cael y lle i'r hwn y mae ganddo hawl sylwoddol yn yr hanesiaeth yma. Mae yn dehongli y cyfatebiadau tra neillduol a lluosog a geir yng nghyfundrefnau milwraidd a chymdeithasol Prydain ac Asia cyn-hanesol, pa rai heb hyny a fuasent yn aros yn aneglur-adwy. Mae hyn wedi bod bob amser yn cael ei fyntumio yn gyson gan aw-

duron brodorol, a thrwy eangu cylch ymchwiliadau, cefr fod hyny yn derbyn cadarnhâd llawn ac annisgwyliadwy o ysgrifau boreuaf yr Eidal, Gâl, Bretagne, Hispaen, ac hyd yn oed Iceland.

Ar gyfartal seiliau cedyrn o brawf, y mae cyflwr cymdeithasol Prydain wedi cael ei ddarlunio fel gwladwriaeth foesawg a gwaraidd o amser ei threfedigaethiad cyntaf gan Hu Gadarn. Pe na buasai un cofarwydd arall o henafiaeth Gymreig ond cyfreithiau Dyfnwal Moelmud (c.c. 600), yr hwn sydd eto yn ffurfio seiliau ein deddf gyffredin neu anysgrifenedig, wedi dyfod i lawr i'n dwylaw ni, nis gallem amheu ein bód yn ymdrin â mynegfys gwareiddiad o radd tra uchel. Yn y cyfryw ddeddfyfr yr ydym yn meddianu nid yn unig y gweddillion ardderchocaf perthynol i Ewrop gyn-Rufeinig, ond yr agoriad i'n holl sefydliadau Brutanaidd megys mewn gwrth-gyferbyniad iddo y Cyfandir. Ar ol ei ddarllen, yr ydym yn sefyll yn syn wrth feddwl am y dalleineb ag sydd yn crwydro pan yn ymbalfalu am wreiddyn hawliau a rhyddfreiniau Prydain yng nghorsydd mamwlad caethiwed gwriogaethol—sef yr Almaen. Nid oes un angenrheidrwydd i ni fyned cyn belled ag i sicrhau, gydag un awdwr dysgedig, fod "anwareiddiad a sefydliadau caethwasaidd wedi dyfod gyntaf i mewn i Brydain gyda'r Saeson Almaenaidd;" ond gallwn ddadleu yn ddyogel nas gallasai un parth o'r Cyfandir gynaysgaeddu Prydain â'r hyn na bu erioed yn ei feddu ei hun. Mae yspryd a rhyddid Brutanaidd yn hollol o wreiddyn Brutanaidd cynhenid, ac allan o Brydain nid ydynt ond efelychiadau a thwyll, nid pethau gwirioneddol. Mae y Cyfandir yn gyfanswm o genedloedd yn cael eu llywodraethu ar yr egwyddor orthrymus. Mae Saeson angliaidd yr Amerig pan allan o Brydain yn dychwelyd i fod yn union o'r bron yr hyn ydoedd Saeson Angliaidd yr Almaen a Lloegr—yn werthwr a gyrwr caethion.

Mae gwneuthur ymchwiliad cyffelyb i weddillion llenyddol llys Arthur—i ôlion dirfawr ei lysoedd—i hanes ei ryfelgyrchoedd tramor ag sydd yn ein cyfarfod yng nghôfysgrifau y gwledydd goresgynol eu hunain—y tyrau o eglwysi a sylfaenwyd gan ac sydd eto yn cynnal enwau ei farchogion, yn rhoddi profion tu hwynt i amheuaeth mai y golygiad Ewropaidd traddodiadol o barth y teyrn hwn fel goresgynydd mawr Cristionogol y minteioedd Paganaidd a ddymchwelasant yr ymherodraeth Rufeinig ac nid rhyw dywysog bach gwronaidd, ond Achilles ei oes, yw hefyd yr un cywir hanesol. Bu y cerddorion Normanaidd cyn belled o orhelaethu molianau gyrfa ei fywyd, fel ag y mae yr awdwr yn sicr ganddo, oddiwrth y profion a gasglodd ynghyd, eu bod wedi syrthio yn fyr o barth iddynt. Y maent wedi gorphwys gormod ar ran *filwraidd*—a rhy fychan ar ysplander *moesol* ei deyrnasiad. Ni dderbyniodd un brenin gymaint o gyfiawnder gan y bobl a chan genedloedd, a chymaint o anghyfiawnder gan gell haneswyr ag a gafodd y penadur gwir Frutanaidd hwn—nid delfryd breuddwydiol o'r undeb hwnw o arwredd, hynawsedd, a chrefydd, ag a amlygir wrth y gair *marchwriaeth*.

Nid oes gan yr Eglwys Babaidd unrhyw hawlhôniadau i gael ei hystyried fel eglwys apostolaidd neu gynhenid Prydain. Daeth i mewn mor ddiwedd

ddynt, wrth y modd rhyfedd y maent fel ysgrifeniadau annibynol, yn cadarnhau y naill y llall. Mae y Lenydiaeth Gymraeg hon yn gynnwysedig o "Drioedd cof a chadw Ynys Prydain," o ba rai y mae oddeutu dau cant neu ychwaneg ar gael yn awr,*—ac o Ganeuon Barddonol, ac o amryw ddarnau o Athroniaeth Dderwyddol. Yr ydym fel hyn yn meddu ar bedair ffynnonell i gael hysbysrwydd o honynt mewn perthynas i boblogiad cyntefig a chroniclau dilynol Prydain,—sef, yr Ysgrythyrau—Gweddillion Cymraeg yn yr iaith Gymraeg—Ysgrifenwyr Groeg a Rhufain—tystiolaeth meini a defnyddiau eraill, megys gwersylloedd, cromlechau, cylchau, temlau, &c.

Gwelsom yr hanes a ddyry Moses am y modd y poblogwyd Ynysoedd y Cenhedloedd gan saith mab Japheth. Rhoddwn yn awr draddodiad y Cymry o barth poblogiad cyntefig yr Ynys yma, yr hon yn fwyaf neillduol, yw Ynys Fawr y Cenedloedd, gan ein cyndadau, wedi ei gasglu o'r Trioedd a'r gweddillion Derwyddol.

Cyn i'r Cymry ddyfod drosodd i Brydain, bu "toriad llŷn Llion, a myned bawdd hyd dros wyneb yr holl diroedd, oni foddes yr holl ddynion, namyn Dwyfan Dwyfach, a ddiangasant mewn llong foel;" ac o eppil y ddeuddyn hyn yr ailboblogwyd y ddaear. Llong Nefydd Naf Neifion y gelwid y llong hon, ac ystyrid hi fel wedi cael ei hadeiladu yn ynys Prydain, ac yn un o'i "thair prif orchestwaith."

Am hir amser wedi treio o'r Diluw trigai y Cymry yng Ngwlad yr Hâf, rhwng môr Afiz a Deffrobani. Gan fod y wlad yn agored i orlifoedd y môr, penderfynasant, dan arweiniad Hu Gadarn, chwilio drachefn am Ynys Wen y Gorllewin, lle yr adeiladasai eu tad, Dwyfan, long Nefydd Naf Neifion. Teithiasant yng nghyfeiriad machludiad yr haul, yn llawer o rifedi ac yn wyr o galon a nerth mawr—pobl "gedeirn." Daethant i olwg yr Alpau, ac yna trodd rhan o'r dyrfa ymfudol tua'r Dehau—y rhai hyn ydynt Gymry (Umbri) yr Eidal. Y lleill, y rhai oeddynt gynnwysedig o dair ciwdawd, sef, y Cymry, y Brython, a'r Lloegrwys, a groesasant yr Alpau. Ymsefydlodd cyfran o'r Lloegrwys ar hyd un ochr i'r Alpau gerllaw y môr; y

* Ni fedrodd Thomas Jones, o Dregaron, 1601, o.c. gael hyd i fwy na chant a chwech ar hugain, er y dywedid yn ei amser ef bod trichant o honynt i gyd. Y mae ei gasgliad ef wedi ei argraffu yn y *Myvyrian Archaiology*, Cyf. II. ond y mae llawer yn ychwaneg i'w cael mewn ysgrif-lyfrau.

rhai hyn ydynt Liguriaid yr Eidal a'Gâl. Gan dramwyo ym mlaen ym mhellach fyth daethant dros Afon y Rhôd, yr Afon Araf, yr Afon Arw, a'r Afon Loew, (y Rhone, yr Arar, y Garonne, y Loire,) nes dyfod i Gwasgwyn, (Gascony, gwlad y gwinwydd). Troisant oddi yno tua'r Gogledd, ac ymsefydlodd cyfran o'r Brython mewn gwlad a enwasant yn Llydaw ar y Môr Ucha. Daliodd y Cymry i fyned ym mlaen nes gweled o honynt glogwyni yr Ynys Wen. Yna hwy a wnaethant longau, ac a aethant ynddynt dros y Môr Tawch, a chymerasant feddiant o'r Ynys. Ni chawsant ynddi un creadur byw oddigerth "eirth, a bleiddiau, efeingc, ac ychain banog." Cymerasant feddiant o honi nid drwy ryfel, na thrwy oresgyniad, na thrwy ormes, ond drwy yr hawl sydd gan ddyn ar natur. Ymhen amser daeth rhai o'r Lloegrwys oeddynt ar y Cyfandir ac o'r Brython oeddynt yn Llydaw, atynt, ac i gynifer ag a ddaethant y rhoddasant y rhanau Dwyreiniol a Gogleddol o'r Ynys. Ond trigodd y Cymry yn y Gorllewin. Yr oedd y tair ciwdawd hyn o'r un âch, gwreiddyn, a thafodiaith. Dyma "dair giwdawd addwyn Ynys Prydain," a gelwid hwy felly "am ddyfod o honynt y naill wrth fodd y llall, yn heddwch a thangnef." Galwent yr Ynys, yn Ynys Wen, ac Ynys y Cedeirn, ac yn Fêl Ynys, hyd nes y gwladychodd Prydain yma, pryd y galwyd hi ar ei ol ef yn Ynys Prydain.

Mae yr hanesiaeth yma yn un tra nodedig; mae ei dyddiad yn blaenori, o ganrifau lawer, draddodiadau boreuaf Groeg a Rhufain. Mae ei hadroddion yn cyd daro yn hollol â'r hyn a gafwyd allan drwy yr ymchwiliadau diweddaraf o barth gwreiddyn ieithoedd a chenedloedd.

Os nad hîl Gomer yw y Cymry, yna mab hynaf Japheth fyddai yr unig un yr hwn nid adawodd ar ei ol nac enw na hiliogaeth. Nis gallasai hyn fod, canys y mae Moses yn cofnodi meibion Gomer yn bendant, a'r addewid ydoedd, "Duw a helaetha ar Japheth." (Gen. ix. 27).

Mae holl ysgrifenwyr hynaf Groeg a Rhufain yn cytuno i ddweyd mai y Cymry, neu y Gomeriaid, dan gyfenwadau lled amrywiol, oeddynt y teulu mwyaf cynenid neu hynaf yn y byd. Ar hyd eu preswylfa gyntefig, sef glanau y Môr Dû a Môr Azov, adnabyddid hwynt wrth yr enw Cimri neu Cimmerioi; mae yr orynys a ffurfiai ran o'u tiriogaethau yn cadw ei henw fyth sef Cimria, wedi ei lygru yn awr i Crimea. Ar dueddau Deheuol mynyddoedd y Caucasus gel·

wid hwynt yn Gomrai. Y dosbarth hwn drwy ymgyfathrachu â phlant Madai, yw y Mediaid a geir mewn hanesyddiaeth. Cyfran arall o honynt, gan ymddidoli oddiwrth y cyfangorff, a alwent eu hunain "Parthwys," oddiwrth y ferf Gymraeg *parthu*. Cynyddodd y rhai hyn mewn amser nes ffurfio ymherodraeth ofnadwy y Parthiaid, neu yn ddiweddarach y Persiaid. Rhan fawr arall ar rawd y genedl tua'r Gorllewin, a symudodd ar hyd y gadwen o fynyddoedd a elwir yr Appenniniaid, a dyma oeddynt Chymbri, neu a gadael allan yr *ch*, Umbri, neu Humbri yr Eidal. Y rhai hyn a ddaethant i fod yn brif gŷff o ba un y deilliodd y Lladiniaid, y Samnitiaid, y Sabiniaid, y Marsiaid, a chenedloedd eraill, y rhai wedi hyny a ffurfiasant y cyngrhair Rhufeinig. Yr ymherodraeth Umbriaidd oedd ymherodraeth fawr gyntaf yr Eidal. Cyrhaeddodd ei huchradd 1200 o flynyddoedd cyn crêd, a chlodforid ystod ei pharhad fel yr Oes Sadyrnaidd neu euraidd. Ei phatrieirch breninol ac offeiriadol a ddaethant mewn amser i fod yn dduwiau y cuddchwedlau Rhufeinig. Mae eu henwau yn arwyddocaol, yn egluro eu nodweddiadau a'u swyddau, yn yr iaith Gymraeg; ond y maent yn hollol heb ystyr ym mhob iaith arall. Gan fod sail wreiddiol poblogaeth yr Eidal gynt yn Gymraeg, rhaid fod sail ei hiaith hefyd yn Gymraeg—dyna achos y berthynas agos sydd rhwng y Lladin a'r Gymraeg; y mae miloedd o eiriau yr un fath—oddieithr y terfyniadau, yn y naill a'r llall. Gwyddom fod y Lladin wedi ei seilio ar y Gymraeg nid y Gymraeg ar y Lladin, am fod y geiriau ag sydd yn gyffredin i'r naill a'r llall i'w holrhain yn benaf at eu gwraidd a'u hystyrion cysefin yn y Gymraeg yn unig. Felly hefyd y mae enwau y teuluoedd Lladinaidd hynaf o arwyddocâd Cymraeg—megis Claudius, Cattulus, Ilia, Cato, Pompeius, Lucullus, Camillus, Marcus, &c.

I Freninoedd Umbria y dylid priodoli y gweithydd anferth megis dyfrffosydd Rhufain Umbriaidd, y caerau a'r temlau Cyclopaidd neu enfawr, &c., a adeiladwyd yn oesau cynhanesol yr Eidal—eu crefydd oedd yr un Batriarchaidd neu Dderwyddol. Rhoddodd eu hymherodraeth le i'r un Duscanaidd neu Etruriaidd; ac yn ol yr hanes a ddyry Cato, Pliny, a Soldinus, fe gwympodd tri chant o'u dinasoedd i ddwylaw y goresgynwyr. Rhoddodd yr ymherodraeth Etruriaidd le drachefn yng Ngogledd yr Eidal, oddeutu 600 cyn cred, i ymherodraeth y Cymry Brytanaidd dan Beli a Bran.

Yr oedd Locriaid Hen Groeg hefyd yn gyd-dylwyth â'r Cymry—eu henw a'u priod-iaith yr un ag eiddo Liguriaid, Locriaid, a Lloegrwys yr Alpau Isaf, (*Piedmont*,) a Deheubarth Prydain.

Mae llawer o'r manau pwysfawrocaf yn Armenia ac o amgylch y Caucasus, yn dal eu henwau Cymreig cyntefig—Gumri (prif amddiffynfa a phen-lluestdy galluoedd Rwsia), Van, (ban, neu gopa mynydd), Erivan( ar y fan), Kars, (yr amddiffynfa garegog), Trebizond (Trapezuntum) y Dref Isaf, &c.

Felly hefyd y mae delweddau mawrion a naturiol Ewrop yn cynnal yr enwau a roddwyd iddynt gan y Cymry pan y trieddiasant gyntaf i mewn i'w choedwigoedd anghyfaneddol a'i gwastad-tiroedd tawel. *Alp*, yn yr iaith Gymraeg, yw mynydd creigiog; Appennini, y copäau gwynion; Cevennes, y cefnau neu drumau; Pyrennees, y pigyrnau; Dòn, Tòn; Tagus, y ffrŵd ddystaw; Loire, yr afon loyw; Pwyl, y Pyllau; Rhên neu Rhine, yr afon gefnllifol; Arar, yr afon araf, &c., &c.

Mae dygwyddiadau diweddar wedi ein galluogi i gydmaru golygiad presenol Cymru y Caucasus, neu y Crimea, gyd â'r hyn a drosglwyddwyd i lawr i ni yn hên draddodiadau Prydain. Mae hi fyth fel y darlunia y traddodiad hwnw ei bod 3500 o flynyddoedd yn ol; mae y rhan Ddwyreiniol o honi yn orchuddiedig gan feislynoedd heilltion; a chymerir rhan helaeth i fynu gan y Sivash, neu y Môr Llygredig; ac y mae yr holl ran arall yn gyfansoddedig o leiniau o dir, creigiau arwynebol, a thraethellau tywodlyd. Mae yn hysbys yn awr fod y rhan Ddeheuol, a alwent Gwlad yr Hâf, yn teilyngu y cyfenwad yn rhagorol. Dyma Naples yr ymherodraeth Rwsiaidd.

"Mae yr hin," medd gohebydd y "*Times*," wrth ysgrifenu o'r Crimea, Mehefin 17eg, 1855,—"yn boeth ar yr iseldir, ïe, yn boeth erwinol, ac hyd yn oed ar y bryniau, mae y gwres-fesurydd tu fewn i'r tai yn ymestyn goruwch 90 o raddau yng nghorff y dydd; safai yr eiddof fi yn agos i 80, am 10 o'r gloch neithiwr; ond bob dydd o'r bron ceir yma rai oriau o awelon oeraidd yn dechreu chwythu oddeutu 9 o'r gloch, ac yn parhau hyd 3 neu 4. Yr ydych yn dyfod i waered rhwng glaswellt yn cwhwfanu, ysgall gorfawr, ac adlonir chwi gan bêr arogl miloedd o flodau. Ond troer allan o'r llwybr am eiliad, a byddwch yn mathru ffac-

bys a llewyg y blaidd, cynghafog, drewlys, pig yr aran, a blodau gwylltion, yng nghyd a phwysïau eraill dirifedi, yn perthynu i'r rhestrau israddol."

Yr oedd mwy na 3000 o Gymry Brytanaidd mewn gwahanol gatrodau yn ymladd ym mrwydrau yr Alma ac Inkerman, ac yn yr ymosodiadau a wnaed yn erbyn Sebastopol. Mae yn ffaith heb ei chyffelyb mewn hanesiaeth fod eppil cenedl o bobl a ymfudodd er ys tair ar ddeg ar hugain o ganrifau yn ol, yn dychwelyd fel hyn i ymladd yn achos cysegredig cyfiawnder a gwareiddiad, i'r wlad lle y magwyd eu hynfiaid, yn y Dwyrain bell,—wedi cadw yr un iaith, yr un egni bywyd, yr un yspryd dyoddefol ac anorchfygol, a'r un ymlyniad greddfol wrth ryddid! Ymddengys y fath engraifft nodedig o fywydoliaeth mewn cenedl fel yn cyfiawnhau coel y Cymry yn eu dihareb boblogaidd, "Tra môr, tra Brython."

Poblogwyd Llydaw oddeutu yr un amser a Phrydain, gan y Brython, neu y trydydd cyd-dylwyth. Hyd 900, o.c., ystyrid hi bob amser fel yn rhan o Brydain yn hytrach nac o'r Cyfandir, am fod y berthynas rhwng y tri llwyth â'u gilydd o'r arddull mwyaf cyfeillgar.

Mae Daeareg yn ein galluogi i benderfynu nad oedd, yn yr amser y cafodd Prydain ei threfedigaethu gan y Crimeaid, ddim mwy na'i hanner yn gymhwys i gael ei chyfaneddu. Yr oedd ei rhanau Dwyreiniol, sef, y tiroedd sydd yn taraw ar gul-foroedd mawrion y Tafwys, yr Hafren, y Mersi, yr Hymyr, y Trent, y parthau corslyd, naill ai o dan ddwfr neu yn siglenau lleidiog. Aeth llawer canrif heibio cyn dyfod o honynt yn addas i gynnal bywyd dyn. O ganlyniad yr ardaloedd a boblogwyd gyntaf oeddynt ororau mynyddig y Gorllewin, ac uchel-diroedd gwastad y Gogledd a'r Deheu. O herwydd hyny, yn swyddi Dyfnaint, Cernyw, Cymru, Cumberland, a pharthau Dwyreiniol yr Alban, y ceir y gweithydd a luniwyd gynaraf gan ddwylaw dyn o un man ym Mhrydain—sef, temlau, mynwentydd, crugiau, a chaerau, y tair Ciwdawd Addwyn.

Yr oedd treftadaeth neu etifeddiaeth y giwdawd hynaf, neu y Cymry, yn gorwedd rhwng yr Hafren a'r Môr—cyrhaeddai eiddo y Lloegrwys o Gaint i Gernyw—ac ymestynai eiddo y Brython oddiwrth yr afon Hymry tua'r Gogledd. Y Cymry, gan helaethu eu terfynau yn raddol a boblogasant y rhan Ogledd-Orllewinol o'r Ynys, a Dwyreinbarth

yr Alban. Adnabyddid y rhai diweddaf hyn gan y Rhufeiniaid wrth yr enw Pictiaid. Mae holl enwau brenin-oedd y Pictiaid, yng nghyd â'r afonydd, mynyddoedd &c., yng ngwlad y Pictiaid, yn Gymraeg.

Rhoddwyd yr uchafiaeth freninol a milwrol ym meddiant y Cymry. A llefaru yn briodol, ymddengys nad oedd dim cyfreithiau mewn grym, ond bod y Tair Ciwdawd yn rheoleiddio eu hachosion wrth ryw ddefodau a elwid wedi hyny yn ddefodau Prydain, ac a ffurfiasant seiliau eu deddflyfrau dilynol.

Ystyrid yr holl Ynys fel dan un goron—a'r goron ei hun yn ddarostyngedig i "lais y wlad;" oddiwrth hyny y deilliodd y ddiareb "Trech gwlad nag arglwydd," yr hon egwyddor a red drwy yr hen gyfreithiau Cymraeg, ac sydd yn hollol groes i'r gyfundrefn Wriogaethol (*feudal system*) yn ol pa un yr ymddygid tuag at y wlad ei hun fel eiddo y brenin.

Megis y cafodd holl Asia ei phoblogi yn raddol o Ucheldiroedd Armenia, felly y poblogwyd holl Ewrop o'r amrywiol Ucheldiroedd ag sydd ar ei harwyneb,—yr Eidal o'r Appeniniaid; yr Hispaen o'r Pyreniaid; Ffraingc o Auvergne, Piedmont, a Bretagne, &c. Ar ol i blant neu hiliogaeth y Cymry cyntefig ymsefydlu fel hyn, gelwid hwy wrth yr enw Celtiaid, (Gael, Galatai, Galli). Nid yw y Cymry yn cydnabod yr enw Celtiaid fel yn cael ei gymhwyso atynt hwy eu hunain. Mae yr ysgrifenwyr Groegaidd a Rhufeinig hefyd yn gwneuthur gwahaniaeth eang rhyngddynt, gan alw y rhai diweddaf yn unig yn Geltiaid, neu Galatai, ond y rhai blaenaf yr "Hên Geltiaid, yr hên Gaeliaid, y Celtiaid hynafol," yn union fel y mae y Cymry fyth yn galw eu hunain yn "Hên Gymry."

Yr oedd yr Iaith Gymraeg yn cael ei llefaru mewn gwahanol briod-ddulliau (*dialects*) dros holl Ewrop a rhan helaeth o Asia. Hi yw sylfaen yr holl ieithoedd Celtaidd, a'r brif elfen yn y Groeg, y Lladin, y Sanscrit, ac yn iaith arwydd-luniol yr Aipht. (*Bunsen's Christianity and Mankind, vol.* iv, *p.* 158.) Hi yw yr allwedd i'r tebygoliaeth sydd yn bod rhwng ieithoedd y Dwyrain a'r Gorllewin. Gellir ol rhain yr holl ieithoedd eraill at wreiddyn estronol—nis gellir gwneuthur hyny â'r iaith hon. Mae yn ffaith sicr iddi gael ei dwyn gan y Cymry i Brydain, fel y lleferid hi gan eu cyndadau yn Armenia, 1700 cyn cred; a'u bod wedi cadw gwyliadwriaeth dros ei phurdeb cywirol drwy yr holl

a gofal eiddigeddus. Mae hon yn dyst diamheuol a gr o barth hynafiaeth eithaf eu cenedligrwydd a'u wareiddiad.

Bu y tair ciwdawd addwyn mewn mwynhad o'u hamrywiol randiroedd ym Mhrydain dros bump canrif heb eu haflonyddu. Yna cymerodd ail boblogiad le ar ddystrywiad ymherodraeth Caerdroia yn y Dwyrain. Yr oedd ymherodraeth Caerdroia yn un Japhethaidd; hyny yw, yr oedd ei breninoedd a'i phobl o'r un linach ac iaith ag Umbri yr Eidal a Phrydain. Yna ar ei dymchweliad, hwyliodd cyfran o'r olfucheddwyr tua'r wlad gyntaf a enwyd, a chyfran tua'r olaf. Yr oedd y gweddill o Asia Leiaf yn Semaidd. Ystyrid Caerdroia fel dinas sanctaidd hîl Japheth yn y Dwyrain.

---

## Y CYFNOD CAERDROIAIDD.

Nid amheuwyd erioed am dros bymtheg cant o flynyddoedd ynghylch disgyniad y Prydeiniaid o Gaerdroia ac o'r Troianwys. "Ynys Brut" oedd enw cyffredin yr ynys yn yr hen amseroedd. Y gair *tan* yw yr hen air Prydeinig neu Japhethaidd am *wlad*,—Brutannia yw gwlad Brut neu Brutus. Mae y gair hefyd o ddefnyddiad tra hynafol yn Asia, megis Laristan, Feristan, Affghanistan.

Yr unig ddau enw cenedlaethol a gydnabyddir gan hen drigolion Prydain ydynt y *Cymry*, a *Llin Troia*. Mae yr haniad Troianaidd yn dehongli yr holl arbenigion sydd yn nefodau a chyfreithiau Prydain, y rhai, pe amgen, a fyddent yn hollol anegluradwy.

Rhyfel Caerdroia yw y prif bwynt mewn hên hanesyddiaeth, oddiwrth ba un y gallwn olrhain dygwyddiadau i fyny am o ddeutu pedair canrif, ac i waered am oddeutu saith ugain o flynyddoedd; yn Groeg at Codrus a Neleus, ond ym Mhrydain i lawr at gyfnod Caswallon a'r ymgyrch Rhufeinig dan Iwl Caisar. Mae achau holl Freninoedd a Thywysogion Prydain yn rhedeg i fyny drwy Beli Mawr, at Eneas, Dardanus, a Gomer.

Poblogiad Prydain gan y Troianwys a gymerodd le fel y canlyn:—

Oddeutu y flwyddyn 680 ar ol y Diluw, ac 1637 cyn cred, yr oedd Iau a Dardan yn teyrnasu ar yr ymherodraeth Umbriaidd yn yr Eidal. Gan i Dardanus mewn brwydr ladd ei frawd Iau, neu Jasius, efe a ymfudodd yn gyntaf i Creta, yna i Samo, Thracia—ac yn olaf i Phrygia, ym mha le wrth droed y mynydd a alwai efe Ida, yn ol enw y mynydd oedd yn Creta, yr adeiladodd Dardania. Y brenin ag oedd yn teyrnasu y pryd hyny ar Phrygia ydoedd Athus. Iddo ef yr oedd dau fab, sef, Lludd a Tyrrhi (Lydus a Tyrrenus). Gan fod Dardanus wedi cyfnewid ei hawliau yn yr Eidal gydag Athus, am gyfran o Phrygia, hwyliodd Tyrrhi gyda llawer o ddeiliaid ei dad ac a gymerodd feddiant o'r rhan hono o Umbria yn yr Eidal a berthynai i Dardanus. O'r amser hwnw, oddiwrth enw Tyrrhi, gelwid y lle Tyrrhenia. Priododd Dardanus Batea, merch Teucer, brenin Llydaw (Lydia) a dilynwyd ef gan Eric, y brenin cyfoethocaf yn y Dwyrain,—ac ar ol Eric daeth Tros, yr hwn a symudodd brif ddinas yr ymherodraeth o Dardania i Gaerdroia. Yr oedd gan Tros dri o feibion, sef, Ili, Assarac, a Gwyn y Prydferth (Ganymedi). Cymerwyd Gwyn drwy gynllwyn gan Tantallon, brenin Lydia, yr hwn a'i hanfonodd fel sicrwystl i Iau brenin Creta. Gwnaeth Tros ryfel yn erbyn Tantallon a'i fab Pelops, ac ymlidiodd hwynt allan o Asia, a chysylltodd Lydia wrth ei ymherodraeth. Ymsefydlodd Pelops yn y parth hyny o Gröeg a elwid ar ei ol ef Peloponesus—o hono ef y tarddodd teuluoedd breninol Argos a Sparta, y rhai a gynddrychiolid gan Memnon a Maen (*Agamemnon a Menelaus*) pan ddechreuodd rhyfel Caerdroia. Dilynwyd Tros gan Ili, ac Ili gan Laomedon. Teyrnasodd Tros driugain mlynedd. Er mwyn coffhau gorwychder ei rawd darfu i Gymry yr Eidal, y rhai a ddilynasant Dardanus, gymeryd arnynt yr enw Troianwys. Ei ail fab, Assarac a genhedlodd Anchises, yr hwn a briododd Gwen (Venus) merch Iau, brenin Creta. Eu mab hwy oedd Eneas neu Aedd,—pen tylwyth breninol y Dardaniaid, a phatriarch llinachau Troianaidd Rhufain a Phrydain. Yn nheyrnasiad Laomedon ailgodwyd amddiffynfa a chaerau Troia gan Belin a Nef, archadeiladwyr o Creta, yn ol cynllun y droddyrysfa (*labyrinth*) Gretanaidd, yr hon oedd hefyd yn ddarluniad cywir o'r bydysawd *serenol*. Olynydd Laomedon oedd ei fab hyn-

af, Tithon, yr hwn, gan briodi Ida, neu Aurora, a roddodd i fyny yr orsedd i'w frawd ieuengaf, Priaf. Mab Tithon ac Ida oedd Memnon brenin yr India. Yn nheyrnasiad Priaf y dechreuodd rhyfel Caerdroia, yr achos oedd hyn:

Jason, nai Pelias, brenin Thessaly, a drefnodd ryfelgyrch yn erbyn Colchos yn Asia, yr hon oedd gyfran o fam-wlad y Cymry. Y prif flaenoriaid dano oedd Hercwlf (Herculus) a Telamon. Y rhai hyn, ar eu ffordd i ymuno â Jason, a angorasant gyferbyn â Chaerdroia, ond gwaharddwyd hwynt yn bendant gan Laomedon rhag gosod eu traed ar dir Troiaidd. Wrth ddychwelyd, ar ol goresgyniad Colchos, daeth Hercwlf, Telamon, a'r penaethiaid Groegaidd eraill, ar warthaf Laomedon ac a'i lladdasant a phump o'i feibion gyd ag ef, mewn ymgyrch disymwth a wnaethant ar y ddinas, a dygasant ymaith hefyd Hesion ei ferch, yr hon wedi hyny a briododd Telamon, ac a fu fam i Ajax Fawr. Priaf ar ei esgyniad i'r orsedd yn ddioed a anfonodd genadwriaeth i Groeg, i fynu adferiad Hesion, ac iawn am y trais a gyflawnwyd gan Hercwlf. Y ddau frenin mwyaf galluog ar Groeg y pryd hyny oeddynt Memnon a Maen, hiliogaeth y Pelops a ymlidiwyd allan o Asia gan y Cymry dan lywyddiaeth Tros. Taleithiau Groeg, wedi eu hanog ganddynt hwy a omeddasant yn unfryd wneuthur iawn; ar hyny pennododd Priaf ei fab Paris yn llywydd ar lynges, gan orchymyn iddo er gwaethaf pob enbydrwydd fŷnu rhyddâu Hesion; yn lle hyny, efe a aeth i lawr rhag blaen tua Sparta, prif-ddinas tiriogaethau Menelaus, a chan gymeryd gafael ar ei wraig, Elen—dynes hawddgaraf yr oes, efe a'i dygodd hi ymaith yn gyntaf i'r Aipht, ac yna adref i Gaerdroia: yr oedd Menelaus yn absenol ar y pryd yn Creta. Holl daleithiau Groeg, pan glywsant am y weithred hon o ad-daliad cyfiawn, a ymruthrasant dan arfau. Cydgasglwyd llynges gyngrheiriol yn cynnwys 1394 o longau, dan wyth-a-deugain o dywysogion wedi eu gosod dan lywyddiaeth Memnon, neu Agamemnon, brenin Argos, fel prif gadflaenor. Mae hanes y rhyfel a ddylynodd, yr enwocaf o bob rhyfel a gymerodd le mewn oesau hên neu ddiweddar, wedi ei adrodd ar gân gan Homer a Virgil, ac wedi ei osod mewn dull hanesiol gan Dares o Phrygia, a Dictys o Creta, awduron cydoesol, wedi bod yn gwasanaethu yn y rhyfel drwy ystod ei pharhâd, ac wedi hyny a ddaethant gyda Brutus i Brydain. Parhäodd y rhyfel am ddeng mlynedd, yn ystod pa

amser yr ymladdwyd deunaw o frwydrau pennodedig, a threngodd prif farchogion Groeg a Chaerdroia gan mwyaf mewn ymladdfëydd llaw-law. Y gwroniaid a hynodasant eu hunain fwyaf ar ochr y Groegiaid oeddynt Achilles, Uliex, (Ulysses) Ajax, Pedrocles, Meirion, Nestor, ac Agamemnon—ac ar du y Troïanwys, neu y Cymry, Hector, Troil, Paris, Memnon, Eneas, a Sarph(Sarpedon ) Ar noson yr 21ain o Fehefin, 1184 c.c., yn y ddegfed flwyddyn o'r gwarchae, darfu i ymbleidwyr Antenor a Helenus, y rhai oeddynt wedi bod bob amser yn wrthwynebol i'r rhyfel, daflu yn agored borth Scæan, uwchben yr hwn oedd delw o farch gwyn yr haul, i'r fyddin gyngrheiriol. Bu brwydr o'r natur erchyllaf am wyth awr a deugain o fewn ei chaerau. Cwympodd yr hen frenin dewr ynghyda y rhan fwyaf o'i feibion, pan yn ymladd o gylch yr allor yn ei lŷs; yna disgynodd llywyddiaeth y fyddin i ddwylaw Eneas, yr hwn, gan roddi gorchymyn i dânio y ddinas ym mhob parth o honi, er atal y gelyn rhag ei chymeryd, a weithiodd allan ei ffordd, wrth ben y Dardaniaid, drwy gleddyfau a fflamau, i goedwig mynydd Ida. Yno, wedi i 88,000 o Droïanwys eraill ymuno ag ef, ymbarotodd ar fedr dychwelyd at ei hynafiaid, sef Cymry yr Eidal. Yn ganlynol, ar ol amryw anturiaethau, efe a diriodd wrth aber yr Albula, neu y Tiber, a chafodd dderbyniad caredig gan y brenin oedd yn teyrnasu, sef Latinus, yr hwn a roddodd iddo ef Llawen, neu Lavinia, ei ferch, yn wraig.

Antenor, gan hwylio gyda chwe mil o Droianwys eraill i fyny yr Adriatic, a sylfaenodd Padua a theyrnas Gwynedd, neu Venetia yn yr Eidal. Helenus, ynghyda chorff lliosog o'r bobl, a ymsefydlodd yn Alban, neu Albania, yn Groeg, lle ar ol hyny yr ymunodd Brut ag ef.

I Eneas, o'i wraig gyntaf Creusa, merch i Briaf, y ganed Iwl Ascanius. O ail fab Ascanius Iwl, y tarddodd teulu Iwl Caisar, ac ymherawdwr Rhufain. Mab hynaf Ascanius oedd Sylvius Ascanius. Efe a briododd Edra, nith Lavinia, o'r hon y ganed iddo Brut, gwreiddyn llîn freninol Droianaidd Prydain.

Eppil ail briodas Eneas â Lavinia ydoedd Silvius Eneas, o'r hwn y deilliodd Romulus, sylfaenydd Rhufain.

Yn y bymthegfed flwyddyn o'i oedran, lladdodd Brut ei dad, yn ddamweiniol wrth hela. Mewn canlyniad i'r dygwyddiad gofidus hwn, gorchymynodd ei daid iddo ymadael

o'r Eidal. Casglodd Brut ynghyd dair mil o ieuengtyd gwrolaf Umbria, a gosododd ei hun yn flaenor arnynt, a mordwyodd at ei gydwladwyr yn Albania, a elwid wedi hyny Epirus.

Yno mewn cysylltiad ag Assaracus, tywysog Troianaidd arall, cododd i fyny faner annibyniaeth yn erbyn Pandrasus, yr hwn oedd olynydd Agamemnon ym mreniniaeth Groeg. Rhif o fuddugoliaethau ar ochr y Troianwys a ddiweddodd mewn heddwch; a rhoddodd Pandrasus ei ferch, Imogene, yn wraig briod i Brut. Yr oedd glànau Môr y Canoldir y pryd hyn yn frith gan drefedigaethau wedi eu sylfaenu gan y càd-flaenoriaid Groegaidd ag oeddynt yng ngwarchae Caerdroia; canys yr oedd Groeg wedi ei hollol ddyhyspyddu a'i hanrhefnu drwy ei hymdrechion dirfawr yn ystod y deng mlynedd o ryfel; ac am fwy na dwy ganrif dylynid yr hên wareiddiad gwronaidd gan gyflwr o aflywodraeth. Brut gan wybod nad ellid sefydlu teyrnas Droianaidd yn Albania, heb fod yn agored i ryfeloedd dibaid, a benderfynodd ymfudo gyda ei holl bobl i orsaf Gogleddol prif gŷff ei hiliogaeth,—sef, yr Ynys Wen. Cymeradwywyd y penderfyniad yn unfryd. Adeiladwyd llynges o dri chant a deuddeg-ar-hugain o longau—darparwyd arfau a lluniaeth—cyflwynwyd sail-golofn Paladiwm Caerdroia i ofal Geryon y Dewin, ac aeth yr holl boblogaeth ar fwrdd y llynges. Dygwyd oddi amgylch y trefedigaethiad Crimeaidd ar hyd y tir, ar draws Cyfandir Ewrop—ond yr un Troianaidd ar hyd y môr.

Brut, gan fordwyo ar hyd oror ddeheuol Môr y Canoldir a gyrhaeddodd ym mhen tridiau i Melita, a elwid y pryd hyny Legetta. Gan weled teml i Ddiana, neu Geridwen, ar yr ynys, efe a ymgynghorodd â'i gwyddonfa o barth tyngedion dyfodol ei deulu a'i genedl. Cerfiwyd y penillion wedi hyny mewn prif-lythyrenau Groeg ar allor Diana yn Nhroia Newydd, neu Lundain, a chyfieithwyd hwynt i'r Lladin yn y drydedd ganrif gan Nennius, tywysog Brutanaidd a berthynai i lŷs Claudius Gothicus yr ymherawdwr, ewythr i Constantius. Oddigerth rhag-ddywediadau Balaam, a gofnodir gan Moses yn llyfr Numeri, dyma y broffwydoliaeth hynaf yn y byd cenedlig, ac y mae fyth ar y gwaith o gael ei chyflawni.

BRUT.

Duwies y goedwig, dychryn baedd y glyn—
Sydd genyt hawl i fyn'd uwch huan gwyn,
Ac obry i waelodion annwn ddu,—
Tro'th sylw weithian at y ddaear gu,
A darogana pa ryw hyfryd wlad,
O'th ddewis di, a gawn yn hir fwynhâd,
Lle'r adeiledir temlau, uchel nôd,
I lân wyryfon ganu byth dy glod?

DIANA.

Ar fachlud haul, tu hwnt i oror Gâl,
Mae Ynys brydferth yn y cefnfor hâl,
Lle gynt y trigai cewri, mawr eu bri,
Ond gwag yw'n awr, a da i'th giwdawd di;
Argeisia hon, bydd itti'n fythol sêdd,*
Ac ail Gaerdroia gwyd o fewn ei gwedd;
Breninoedd ddaw o'th lîn, a'u hawl a gerdd
Hyd ddiwedd byd—dros wyneb daear werdd.

Ni fesurir terfynau yr ymherodraeth a sylfaenwyd gan Brut yn awr ond gan gylch y byd, ac y mae ei hiliogaeth olynol yn dal i lywio ei theyrnwialen, ac fyth mewn meddiant o'i gorsedd.

Ar y nawfed dydd hwy a aethant heibio yr Allorau Philistiaidd, a hwyliasant ym mlaen at Fynydd Azara. Galwasant yr arfordir wrth yr enw Moritania (y tir wrth y môr) yr hwn enw y mae yn ei ddwyn fyth. Yna hwy a gyfarhwyliasant drwy Gulfôr yr Ercwlf Lybyaidd, sef yw hwnw, culfor Gibraltar, i'r Môr Werydd, a elwid yr amser hwnw y Môr Tyrrhenaidd. Ar arfordir Deheuol yr Hispaen, cyfarfyddasant â phedair o drefedigaethau Troianaidd eraill, dan lywyddiaeth Troenius. Cymerodd y rhai hyn eu perswadio yn hawdd i ymuno â hwynt. Ac fel yr oedd yr ymfudiaethau unol hyn yn mordwyo tua'r Gogledd, ymunodd corff o Roegiaid â hwynt drachefn, sef cyfran o drefedigaeth Gretanaidd ag oedd wedi ymsefydlu dan lywyddiaeth Teucer, yn Calabria. Yna hwy a angorasant gyferbyn â genau yr afon Loire. Yr oedd y gwastadedd mawr ag oedd rhwng yr Alpau a'r Môr Werydd erbyn hyn wedi ei boblogi i raddau helaeth gan ddisgynyddion Cymry yr Alpau a'r Auvergne; galwai y rhai hyn eu hunain yn Geltiaid neu Gaeliaid, a'r wlad yn Gâl, neu Gallia. Ystyr y gair Gael yw "coedwigwr,—gwr o wlad goedwigol." Yr oedd yr iseldiroedd y pryd hyny ym mhobman wedi eu gorchuddio â choed tewfrig; yr ucheldiroedd yn unig oeddynt foelion a sych. Brenin y Gaeliaid oedd Goffar. Gan

fod ei genadwr wedi cael ei ladd mewn ysgarmes gyda Troenius, gwnaeth Goffar ryfel yn erbyn Brut. Gorchfygwyd Goffar yn y frwydr gyntaf, a lladdwyd Subard ei gadflaenor. Yna Brut gan fyned ym mlaen drwy Gwasgwyn (Gascony) a wersyllodd yng nghanol tiriogaethau Goffar ei hun. Ymladdwyd ail frwydr yn yr hon y collodd Brut ei nai Tyrrhi. Er anrhydedd iddo ef, adeiladodd Brut garnedd enfawr, lle yn awr y saif y ddinas a alwyd ar ol enw Tyrrhi, yn Tours. Yna Goffar, wedi ei orchfygu y drydedd waith, a ymblygodd i'r telerau a osodwyd arno gan y gorchfygwyr. Wedi adgyweirio y llynges a'i hadgyflenwi ag ymborth, mordwyodd y flwyddyn ganlynol o gylch trwyn tir Armorica, ac o'r diwedd angorodd gyferbyn a Talnus, yn Torbay. Buont am dair wythnos yn glánio ar y tir; a'r cyntaf a roddodd ei droed ar "Ynys y Cedeirn," oedd y gwron Troianaidd ei hun, a hyny ar y graig a nodir allan fyth yn Totness, "Carreg Brut." Rhoddodd y tair ciwdawd addwyn dderbyniad i'w cydwladwyr o'r Dwyrain fel brodyr. Dygodd Brut i mewn gyfansoddiad a chyfreithiau Caerdroia. Cyn ei amser ef rheolai y ciwdodau cyntefig eu bywydau a'u cyfathrach yn unol ag ychydig ddefodau syml a phatriarchaidd, gan gymeryd eu harwain yn benaf gan ddeddf caredigrwydd naturiol. Mewn gorsedd gwlad a chywlad, etholwyd Brut i fod yn brif deyrn. Fel hyn daeth gorsedd a choron Hu Gadarn i'w ran ef, nid yn unig drwy etifeddiaeth, ond hefyd drwy bleidlais y bobl. Galwodd ei dri mab y rhai a anwyd ar ol ei ddyfodiad i Brydain, ar ol y tair ciwdawd addwyn, yn Locrinus, Camber, ac Alban. Mae Brut yn fawr ei glod hefyd fel un a wnaeth chwyldroad ym mreniniaeth Prydain; am iddo gorffori y gyfundrefn Droianaidd gyda'r un Batriarchaidd. Y fwyaf gofiadwy o'i ddeddfau yw hono o barth cyntaf-anedigaeth breninol, drwy yr hon y mae olyniaeth i orsedd Prydain wedi ei rhoddi ym meddiant mab hynaf y brenin. Adwaenid hon yn neillduol fel "deddf Caerdroia," ac y mae ymhob oes wedi bod yn rheol i benu yr olyniaeth i'r goron Frutanaidd ym mhlith llinachau breninol Prydain. Mabwysiadwyd hi o'r diwedd gan y Normaniaid, a daeth yn gyfraith Lloegr. Hi yw yr unig sylfaen ddyogel ar yr hon y dichon unbenaeth orphwys. Mae breniniaethau etholiadol bob amser wedi cwympo oherwydd rhyw anghytundeb cartrefol neu ymyraeth tramor. Deddf sylfaenol ar-

all a sefydlwyd gan Brut oedd, bod breninoedd Cymru a'r Alban i fod yn ddarostyngol i frenin Lloegria cyn belled fel ag i dalu iddo ef yn flynyddol ddeugain pwys o aur. tuag at ddwyn traul amddiffyniad llyngesol a milwrol yr Ynys. Nid oedd yr holl Ynys byth i gael ei hystyried yn amgen nag un deyrnas ac un goron. Gelwid y goron hon "Coron Prydain," a chysylltwyd wrthi y freniniaeth ar yr holl Ynys—"unbenaeth Prydain." Arhosai y gâd-flaenoriaeth filwrol yn y Giwdawd hynaf, sef y Cymry; ac o honynt hwy yr oedd y Pendragon neu y penrheolwr milwrol, a chanddo feddiant ar awdurdod anymddibynol am yr amser, lle byddai tebygolrwydd o ymgyrch tramor neu ryw berygl gwladol, i gael ei ddewis. Yr oedd y gad-flaenoriaeth yma yr un fath a'r hon a arferid gan Sparta yn Groeg, a chan Rufain yn yr Eidal. Yr oedd pob un o'r deiliaid mor rhydd a'r brenin. Nid oedd yma unrhyw ddeddfau mewn grym heblaw y rhai a adwaenid fel cyfreithiau, neu "iawnderau cyffredin," (cyd-raith.) Ac nid oedd yma gaethweision ychwaith; y caethweision cyntaf yn yr amseroedd dylynol oeddynt y caethion, neu y carcharorion a gymerid mewn rhyfel.

Nid ellid newid mo ddefodau Prydain drwy unrhyw ddeddf neu gyhoeddiad o eiddo y goron neu yr orsedd ddygynnull. Ystyrid hwy fel iawnderau priodol a genedigaeth-fraint pob Prydeiniwr, o ba rai nid allai unrhyw arlywiad dynol ei amddifadu. Mae llawer o'r defodau hyn yn nodedig am eu gwrolfryd uchel a dyngarol; er engraifft, "Tri phriodolion gwahanredawl pob gwr rhag arall, ai aillt ai Cymro y bo: gwraig; plant; a da cylchynawl." "Tri phriodolion gwahanredawl pob gwr rhag arall, ac nis gellir eu rhanu ag arall, ac nis telir yn nghamlwrw: gwraig; plant; ac argyfren; sef yw argyfren, gwisg, ac arfau a pheirianau celfyddyd freiniawl; canys hebddynt nis gellir ei gyfiawn ansawdd i wr; ac nid iawn i gyfraith anwriaw gwr, neu anghelfyddu celfyddyd."

Priodola y cyfreithwyr dysgedicaf brif ddefodau ein hynys i'r ddeddf Droianaidd a ddygwyd yma gan Brut. Mae yr Arglwydd Prif Farnwr Coke, (y Rhaglith i Gyf. III. o'i Adroddion,) yn myntumio "bod deddfau cyntefig y wlad hon wedi eu cyfansoddi o'r cyfryw elfenau ag a ddetholodd Brut gyntaf o'r hen osodedigaethau Groegaidd a Throianaidd."

I'r deddfau brodorol hyn, ac nid fel yr ynfyd haerir weithiau, i unrhyw ffynnonell dramor neu gyfandirol—Almaenaidd, Saxonaidd, na Normanaidd, y mae y Prydeiniaid wedi bod yn ddyledus ymhob oes am yr uwch ryddfreintiau a fwynhânt mewn gwrth-gyferbyniad â chenedloedd eraill. Mae yr Arglwydd Ganghellydd Fortescue, yn ei waith "ar Ddeddfau Lloegr," yn sylwi yn gywir,—"o barth y gwahanol alluoedd a hòna breninoedd ar eu deiliaid, yr wyf fi yn gadarn o'r farn bod hyny yn tarddu yn hollol o wahanol natur y sefydliadau cysefin. Felly cafodd teyrnas Brydain ei dechreuad oddiwrth Brut a'r Troianiaid, y rhai a'i canlynasant ef o Groeg a'r Eidal, ac yr oedd yn llywodraeth gymysg, wedi ei chyfansoddi o egwyddorion breninol a gweriniaethol."

Deddf Brydeinaidd neu Droianaidd arall, fyth mewn llawn rym—ydyw, y gall teyrnwialen yr ynys gael ei llywio gan frenines gystal a chan frenin. Yn nheyrnas y Pictiaid trosglwyddid yr olyniaeth yn hollol yn y llinell fenywaidd. Ym mhlith cenedloedd y Cyfandir ni chaniateid i un ddynes deyrnasu. Yr oedd y Saxoniaid yn ei ystyried yn warth gweled brenin yn eistedd ar orseddfaingc gyda brenines.

Parhaodd enwau y prif deuluoedd Groegaidd a Throianaidd ym mhlith eu hiliogaeth Cymreig hyd amser tra diweddar. Mae rhai o honynt mewn arferiad eto. Dylent i gyd, fel mater o anrhydedd cenedlaethol gael eu hadferu.

Nid yw *Homer* ond un o'r ffurfiau newidiol o'r gair Gomer—yr *g* dan ryw reolau pennodol yn cael ei gadael allan. Y bryddest hanesiol, sef, yr *Iliad*, neu Gwymp Caerdroia, a briodolir i Homer, sydd gasgliad o ganeuon gwronaidd y Beirdd Gomeraidd neu Gymreig, ar gyflafan fawr eu hiliogaeth yn y Dwyrain. Cyfansoddwyd hi gyntaf mewn awgrymau Cymraeg neu Goelbren y Beirdd. Newidiwyd y rhai hyn wed'yn gan y Groegiaid i ddull y Phœniciaid, ac wrth wneuthur hyny, yr oedd yn rhaid iddynt adael allan y gwreiddyn Cymraeg "*gw*." Dyma yr achos paham y mae y fath hacriad mydrol yn ffurf Röegaidd bresenol yr *Iliad*. Y "*gw*" yw y llythyren a geisir ei hadferu gan ysgoleigion diweddar o dan yr enw Œolic Digamma.

Pryddest hanesiol gyffelyb ar yr un pwngc yw yr *Œneid*, gan Gymry Brutanaidd yr Eidal—oherwydd yr oedd Virgil yn un o eppil goresgynwyr Cymreig yr Eidal dan lywydd-

iaeth Brân, ac, fel y dengys ei ysgrifeniadau ym mhobman, yn fardd cyfrin. Nid oes gan un o'r pryddestau anfarwol hyn unrhyw gysylltiad, a llefaru yn fanwl, ag hanesyddiaeth cenedl-achau Groeg na Rhufain. Cerddi arwest ydynt am yr eppil wronaidd, neu hîl Gomer.

Y gyfundrefn o ryfela, a'r gyfundrefn filwrol o wersyllu, a ddygwyd i mewn i Brydain gan Brut. Mae Caisar yn darlunio y naill a'r llall fel wedi cyrhaedd yn ei amser ef y perffeithrwydd uchaf. Yr oedd y drefn Frutanaidd o wersyllu mewn rhai ystyriaethau pwysig yn rhagori ar eiddo y Rhufeiniaid.

Yn y drydedd flwyddyn o'i deyrnasiad sylfaenodd Brut Gaerdroia, a elwid wedi hyny Caerludd, ond yn awr Llundain, (Lud-din, dinas Lud,) ar fan a adnabyddid wrth yr enw Bryn Gwyn, ar ochr ogleddol genau yr afon Tafwys. Ar y Bryn Gwyn y saif y Tŵr yn awr. Yng nghyntedd Teml Diana y gosododd ef y gareg gysegredig a ffurfiai gynt sail-golofn Paladiwm y fam-ddinas, sef Caerdroia. Ar hon y tyngid y Breninoedd Prydeinig i gadw Deddfau Prydain. Adnabyddir hi yn awr dan yr enw "Careg Llundain" ac y mae yn gorwedd mewn careg arall ar ochr Ddeheuol Eglwys yr Iachawdwr, yn heol Cannon. Y gredиniaeth yn yr hên amser ydoedd, cyhŷd ag yr arhosai, y parhae Troia Newydd, neu Lundain, i gynyddu mewn cyfoeth a gallu; ond ar ei myned ar ddifancoll, y lleihae y rhai hyny, ac o'r diwedd y diflanent. Yr oedd gan goelion o'r natur yma allu moesol ar feddwl ein hynafiaid, i'w gyru rai prydiau i gyflawni y gweithredoedd gwylltaf, waith arall, y gorchestion aruchelaf. Mae y grêd fod Caerdroia Prydain, neu Lundain, wedi ei harfaethu i lywio ymherodraeth eangach nag a lywiodd Caerdroia Asia, neu yr Eidal (sef Rhufain), yn un o draddodiadau hynaf y Cymry.

Bu farw Brut ar ol teyrnasiad gwiwgof o bedair blynedd ar hugain, a chladdwyd ef wrth ochr Imogene, yn y Bryn Gwyn. Yr oedd hynt ei fywyd yn llawn o ddygwyddiadau cawraidd; ond beth mwy a allasai fod na sylfaenwr ymherodraeth gadarn yn y Gorllewin, yr hon, wedi amrywiol gyfnewidiadau, ac ar ol llyngcu i fyny lawer o giwdodau, sydd eto yn gorphwys yn dawel a'i phwys ar ei enw a'i sefydliadau.

Y gyfran o Brydain a roddwyd i Troenius ydoedd y Ceryn neu y penrhyn Gorllewinol, yn cyrhaedd o Torbay hyd

y Pentir, rhan o ba le a adnabyddir yn awr dan yr enw Cernyw. Oddiwrth y Ceryn, newidiodd Troenius ei enw i Cernyn neu Corineus. Yr oedd Duciaeth Cernyw a sylfaenwyd fel hyn, yn Dduciaeth freninol; hyny yw, arferai y Duc ynddi yr un uchel-freintiau ag yr oedd breninoedd Lloegr, Cymru, a'r Alban, yn eu harferu o fewn eu tiriogaethau hwy. Yn nesaf at y coronau hyn, dyma y titl hynaf ym Mhrydain. Yr oedd Cernyw a Llydaw yn yr hên amser yn cael eu hystyried fel tiroedd yn perthynu i'r un âch a llîn freninol. Y mae pob un o'r ddau le wedi rhoddi rhestr o freninoedd y naill i'r llall ac hefyd i Brydain.

Ar ol Brut yn Lloegr, teyrnasodd ei fab hynaf, Locrinus; yn yr Alban, ei ail fab, Alban; yng Nghymru, ei fab ieuengaf, Camber, neu Cumbyr. Cyn marw Brut, dyweddiasid Gwendolene, unig ferch ac etifeddes Corineus, i Locrinus. Yn yr ail flwyddyn o deyrnasiad Locrinus y dygwyddodd yr ymgyrch cyntaf y gwyddys am dano yn erbyn Prydain gan y cenedloedd Gogleddol. Gellir ystyried y gwledydd mawrion ag sydd yn cyrhaedd o daleithiau llŷnol Rwsia Uchaf ar draws Llychlyn a'r Baltic Isaf i'r Almaen, am 1000 o flynyddoedd cyn crêd, hyd 1000 o.c., fel gwledydd môr-ladronaidd yr oesau cyn-Rufeinig, Rhufeinig, a thywyll. Ar brydiau byddent yn cynnyrchu gor-boblogaeth, y rhai gan fod yn analluog i gyrhaedd moddion i fyw yn y parthau gor-bruddaidd a rhew-glöedig, hyn, a daflent eu hunain weithiau ar hyd y tir, waith arall ar hyd y môr, i wledydd diwylliedig y Deheu a'r Gorllewin. Yr oedd yr enwau a gymerent, neu yr adnabyddid hwynt wrthynt, yn amrywio mewn gwahanol gyfnodau,—sef, Scythiaid, Scotiaid, Gothiaid, Vandaliaid, Sacæiaid, Saxoniaid, Llychlyniaid, Norsemyn, &c. Eu nodweddau naturiol oeddynt—aelodau mawrion ond masw, gwallt côch neu o liw'r llîn, gwynebpryd llwydwyn, llygaid llwydion neu leision, a thraed llydain a gwastad. Gan eu bod yn frodorion o barthranau Gogleddol, cludent gyda hwynt i bob man nwydau anianol cryfion, a thraserch at ddiodydd meddwol. Eu crefydd gan mwyaf ydoedd naill ai Defnyddiodraeth o'r rhyw wrthunaf, neu ynte yr oedd yn gynnwysedig yn yr arferiad o'r goelgrefydd greulonaf; ond dylid cofio, beth bynag, bod ein hanesion ar y penau hyn, yn gymaint ag iddynt ddeilliaw oddiwrth eu gelynion chwerwaf, i gael eu derbyn yn dra esgeulus. Yr oedd yr ymgyrch a diriodd

yng Ngogledd Prydain yn gynnwysedig o bleidiau cyngrheiriol dan dywysiad Humber, brenin y Scythiaid. Fel yr oeddynt yn ymdeithio tua'r Dehau, ymgyfarfyddodd Humber ag Alban ar safle bresenol castell Nottingham. Alban, gan na fynai aros am ddyfodiad ei frodyr, a orchfygwyd ac a laddwyd yn y frwydr a gymerodd le. Yna enciliodd Humber yn ol, rhag dynesiad Locrinus a Camber, nes y daeth ar geulanau môr-gamlas eang y Dwyrain. Aeth y llynges Frutanaidd i mewn i enau y gamlas, ac ataliodd ffoedigaeth llynges arfog y Scythiaid. Humber, wedi cael ei orfodi i ymladd, a lwyr orchfygwyd, ac wrth ffoi, neidiodd i mewn i'r gamlas, a boddodd ynddi; er amser y dygwyddiad hwn, mae yr afon yn dwyn ei enw, sef yr Humber. Ar ol y fuddugoliaeth rhanodd Locrinus yr yspail rhwng ei fyddin, gan gadw iddo ei hun y cyfryw aur ac arian a gynnwysai llong y brenin, ynghyd a thair gwyryf o harddwch trarhagorol, a gafwyd ar fwrdd y llong, y rhai a ddygid o'u gwlad eu hunain gan Humber, drwy orthrech. Un o'r rhai hyn oedd ferch i Frenin yr Almaen: ei henw oedd Susa, neu Estrildis. Locrinus, wedi cael ei daro â swynion anghyffredin ei meddwl a'i pherson, a ddatganodd ei fwriad i'w phriodi. Pan glywodd Corineus am y bwriad hwn, enynodd ei lîd gymaint fel y gofynid ymdrechion mwyaf eu cyd-gyfeillion er atal rhyfel gwladol rhag tori allan. O'r diwedd gwelodd Locrinus ei fod dan angenrheidrwydd o gadw ei ymrwymiad â Gwendolene. Ond gan fod ei feddwl yn glynu mewn cariad wrth Estrildis, efe a adeiladodd balas iddi yn ddirgelaidd yng Nghaersws, yn agos i geulanau yr afon ag sydd yn gwahanu Lloegr oddiwrth Gymru. Yma, drwy gydymddygiad ei frawd Camber, yr oedd yn cael boddhau y serch oedd ganddo at ei garchares brydferth yn ddirwystr. Yn y modd yma efe a'i dirgelodd hi am saith mlynedd. Ganed merch i Estrildis, sef Sabra, yr hon oedd yn tra-rhagori ar ei mham mewn hawddgarwch, ac yn gydradd mewn arddun̄iant â Gwener, mam Eneas, yr hon a addolid gan y Groegiaid a'r Rhufeiniaid fel duwies prydferthwch. Ganed mab hefyd i Gwendolene, sef, Madoc, neu Mador, yr hwn a roddwyd dan warchodaeth Corineus. Gan i Corineus mewn amser farw, ac i Locrinus felly gael ei ryddhâu oddiwrth ei ofnau blaenorol, efe yn ddioed a roddodd lythyr ysgar i Gwendolene, ac a gyhoeddodd Estrildis fel ei wraig briod, ac a'i

derchafodd i'r orsedd. Gwedi ymgynddeiriogi wrth weled y ddichell dwyllodrus a'r dianrhydedd ychwanegol o'i diorseddiad, enciliodd Gwendolene i Gernyw, a chan gynnull holl nerthoedd milwrol duciaeth ei thad, hi a gyhoeddodd ryfel yn erbyn ei gwr. Ymgyfarfyddodd y ddwy fyddin ar lân yr afon Stour, ac yn y frwydr cwympodd Locrinus yn farw drwy effaith ergyd saeth. Yna, Gwendolene, gar brysuro myned ar ol y fuddugoliaeth at gyffiniau Cymru, gymerodd afael ar Estrildis a Sabra. Gorchymynodd i'r gyntaf gael ei dienyddio yn ddioed; ond er gwaethaf ei hadgofiad o'r cam a gawsai, a thymer ddialgar ei nhatur, effeithiwyd gymaint arni gan hawddgarwch goruwch-naturiol Sabra, fel yr aeth llawer o ddyddiau heibio cyn y gellid ei darbwyllo i'w chollfarnu i farwolaeth. Ynà cymerwyd hi gan ei gwarchawdlu i ddôl, (Dôl-forwyn,) a thaflwyd hi i'r afon, yr hon fyth er hyny a elwir Sabra, neu Sabrina, neu yn fwy Cymreigaidd, yr Hafren, ar ol ei henw hi.

Gwendolene, yn ystod yr amser yr oedd Madoc dan oed, a ddygodd y llywodraeth ymlaen gyda medr ac egni mawr. Ar ei marwolaeth yng nghastell Tintagel, gadawodd Madoc, prif ddifyrwch yr hwn oedd helwriaeth, holl orchwylion y deyrnas yn nwylaw ei ewythr Camber. Madoc a sylfaenodd Caer Fadoc, (*Doncaster*.)

Membricius, mab ac etifedd Madoc, a drosglwyddodd yr athrofa a adeiladwyd gan Dares Phrygius, o Caer Ceri (Cirencester) i'r man lle saif yn awr yn Rhydychen. Enw cyntefig Rhydychen yw Caer Mymbyr. Yr oedd ef yn meddu serch-ymlyniad ei dad at helwriaeth. Yr oedd ei farwolaeth yn un hynod: fel yr oedd yn erlyn haid o fleiddiaid gyda'r gwyllnos, hwy a wnaethant ymosodiad arno, ac a'i tynasant ef yn ddarnau ym Mhontbleiddau, neu Wolverston, yn agos i Rydychen. Efroc Fawr, ei fab a'i olynydd, oedd y teyrn Brutanaidd cyntaf a droes ei feddwl at ychwanegu tiriogaethau ar y Cyfandir. Ymledodd ei fuddugoliaethau dros Ffraingc a chanol-barth Ewrop. Adnewyddwyd y gyfathrach deuluol ag oedd yn bodoli gynt rhwng Cymry yr Eidal a Phrydain drwy gyd-briodasau unar-hugain o'i ferched gyda theuluoedd Umbriaidd teyrnas Alban yn yr Eidal. Arweiniodd ei fab, Assaracus, y Cymry at gyffiniau Pwyl neu Poland. Efroc a sylfaenodd Gaer Efroc; Caer-eiddin, (Edinburgh;) Dumbarton, a Chaerdolur, sef, castell Bamborough. Ei deyrnasiad ef, yr hon

a barhaodd am driugain mlynedd, yw un o'r rhai mwyaf hyglod yn ein croniclau boreuol.

Dylynwyd ef i'r orsedd gan ei fab Brutus Darian Lâs. Olynwyd Brutus gan Leil, sylfaenydd Caer Leil a Chaerlleon ar Dwy. A dylynwyd Leil gan Rhun Baladr Brâs, yr hwn a sylfaenodd Gaer Baladr, (Shaftesbury), Caer Wynt, a Chaer Caint. Efe a adeiladodd hefyd lawer o gylchoedd a themlau Derwyddol.

Yn ystod teyrnasiad Rhun, 892 c.c., (y cyfnod pan oedd Zachariah yn proffwydo yn Judea), yr aeth y gyntaf o'r tair Cyforddwy a gofnodir yn y Trioedd allan o Brydain. Gan i Urb, ŵyr Assaracus, mab Efroc Fawr, gael ei yru allan o'i diriogaethau yn Llochlyn, efe a diriodd yng Nghaerdroia, heb gydag ef ond ei was Mathatta Fawr. Pan gyflwynodd ei hun ger bron Rhun a'r cynghor gwladol, efe a daer erfyniodd arnynt ymrwymo drwy lŵ difrifol y byddai iddynt ganiatâu iddo ei ddeisyfiad. Gan deimlo grym appeliad yr alltud breninol, hwy yn ddifeddwl a gydsyniasant i roddi iddo ei ddymuniad. Yna Urb a ofynodd iddynt ganiatâu iddo gael yr un nifer o wyr arfog o bob prif-ddinas gaerog drwy y deyrnas ag a elai i mewn iddi gydag ef. Yr oedd Rhun, gan ei fod yn rhwym wrth lŵ y cynghor, dan orfod rhoddi y caniatâd gofynol; ond gan ragweled yn ddioed yr hyn a ddylynai, efe a roddodd allan gyhoeddiad, na byddai i un Prydeiniwr dan boen marwolaeth fyned i mewn i un ddinas gaerog gydag Urb. Modd bynag ni allasai bygythion na darbwylliad siglo ffyddlondeb yswain cawraidd y tywysog, ac er gwaethaf pob mesurau ataliol, aeth Urb i mewn i'r ddinas gaerog gyntaf gyda Mathatta Fawr wrth ei ystlys. O'r ddinas hon cymerodd ddau,—o'r ail, bedwar,—o'r drydedd, wyth,—ac felly ymlaen, nes gwelid fod galluoedd brwydrol yr ynys yn annigonol i ateb y gofyniad a wnaed ar yr ail ddinas ar bymtheg, yr hyn oedd dros 120,000 o wyr. Yn ganlynol hwyliodd Urb ymaith i Lochlyn, gyda y 60,000 o wyr ag oedd ef wedi eu codi eisoes. A thrwy eu cynnorthwy hwy adenillodd ei orsedd yn fuan. Ymsefydlodd rhan o'r llu arfog hwn yn y wlad a elwid oddiwrthynt hwy y Cimbric, neu y Chersonese Cymröaidd, ond yn awr Denmarc. O'r rhai hyn y dysgynodd, yn gyntaf, y Cimbri arswydus, y rhai, mewn cyngrhair â'r Teutoniaid a ddymchwelasant ac a ddystrywiasant y fath gynnifer o fyddinoedd Rhufain; ac yn ail, mewn oesau dylynol, yr

hiliogaeth Normanaidd, y rhai a oresgynasant Normandy, Lloegr Saisonig, a gwledydd eraill. Mae yr hawsder drwy yr hyn yr ymgymysgai ac y cyd-briodai y Normaniaid â'r Cymry a'r Llydawiaid, gan wneuthur eu hunain yn un â'u hanesiaeth a'u traddodiadau yn derbyn eglurhad oddiwrth y tarddiad cyffredin hwn. Dylynodd y rhan arall o lu Urb eu gyrfa oresgynol ar draws Ewrop nes dyfod o honynt i wledydd Galas ac Avena (Galatia ac Ionia) yn Asia Leiaf. Dyma y Cymry i ba rai y priodola yr haneswyr Groegaidd a Lladinaidd ddarostyngiad y Dwyrain cyn sylfaeniad ymherodraeth Persia gan Cyrus. Dywed y Trioedd na ddychwelodd un gwr o gyforddwy Urb byth drachefn i Brydain. Ymsefydlasant yn y gwledydd goresgynedig. Gelwir y tair cyforddwy hefyd yn Dri Arianllu Prydain. Yr oeddynt oll yn wyr dewisedig, a'u harfau yn gyfansoddedig o'r tri mettal, aur, arian, a dûr. Mae yr hanesiaeth hon yn cydweddu â'r syndod a grybwyllir gan yr ysgrifenwyr clasurol o barth nodwedd claerwych arfogaeth y gwyr meirch yn y byddinoedd Cymreig. Adnabyddir hefyd y tair cyforddwy wrth yr enw y Tair Annoeth Luyddawd, o herwydd iddynt adael yr ynys yn agored i'r tair gormes gadarn, sef, i'r Coraniaid, y Caisariaid, a'r Saeson.

Drwy y dyhysbyddiad a wnaeth y rhyfelgyrch hwn ar adnoddau milwrol yr Ynys, galluogwyd y Coraniaid, ciwdawd fordwyol o Iseldiroedd y Cyfandir gyferbyn ag ochr Dwyreiniol Prydain, i sefydlu eu hunain rhwng yr Hymyr a'r Wash. Dyma yr ymsefydliad Teutonaidd neu Almaenaidd boreuaf a gymerodd le. Hwynt hwy ydynt y Coritaniaid y crybwyllir am danynt gan yr ysgrifenwyr Rhufeinig. Talent deyrnged ac addefent ffyddlondeb i'r Goron Frydeinaidd yn Nghaerdroia, ond mewn achos o gyfyngder peryglus, megys trais-oresgyniad tramor, ymddygent bob amser yn fradwrus tuag at yr achos cenedlaethol.

Ar ol Rhun daeth Bleddyn, neu Bladud, i'r orsedd, yr hwn a seiliodd Gaer Baddon, ac a adeiladodd deml gylchol orwech o'i mewn. Olynwyd ef gan Llyr, sylfaenydd Caer Llyr (Leicester); terfyn teyrnasiad hir a heddychlawn yr hwn mewn cysylltiad ag ymddygiad anniolchgar ac annaturiol ei ddwy ferch hynaf, a serch-ymlyniad caruaidd ei ferch ieuengaf, Cordelia, sydd wedi eu gwneuthur yn dra adnabyddus i'r byd Ewropaidd gan ysgrif-bin dynwaredol Shakespeare. Yna dysgynodd yr olyniaeth drwy Cordelia,

Cynedda, Rivallo, Gorust, Iago, Cymac, i Gorfod. Bu farw dau fab Gorfod, sef Ffer a Por,—y naill mewn rhyfel gwladol, a'r llall drwy ystryw-ddyfeisiau mam ddialgar. Ynddynt hwy y terfynodd llinach wyrwaidd hynaf y Brutaniaid, neu lîn Brut.

Ar ol yspaid amryw flynyddoedd, y rhai a dreulid mewn ymrysonau rhwng gwahanol ymhonwyr am yr orsedd, cafodd Dyfnwal Moelmud, Duc etifeddol Cernyw, ei gydnabod drwy gydsyniad cyffredinol yn brif benadur; yr oedd ef drwy ddysgyniad o ochr tad a mam yn gynddrychiolydd llîn ieuengach o'r Brutaniaid. Y weithred gyntaf a wnaeth efe oedd gwneuthur deddf-lyfr o osodedigaethau gwlad a chywlad, y rhai drwy y terfysgoedd diweddar oeddynt wedi cael eu dyrysu. Mae y cyfreithiau a ddosparthwyd fel hyn yn nodedig am eu heglurder, byrdra, uniondeb, a'u dynoliaeth. Maent wedi dyfod i lawr i ni yn y ffurf Dderwyddol o Drioedd. Rhoddwn yma ychydig o engrheifftiau:—

"Tair sail gwladoldeb: braint; meddiant; a chyfraith.

Tair sail cyfraith: amddiffyn; cosp; ac anrhydedd, parth ag at a wneler er lles gwlad a chenedl

Tri nawdd ac amddiffyn gwladoldeb: nawdd bywyd a chorff; nawdd meddiant ac addef; a nawdd braint gynnenid.

Tri pheth a gadarnhânt wladoldeb: nawdd gadarn i bob dyn, a'i eiddo; cosp gyfiawn, lle a'i dylit; a thrugaredd; o gyfiawnder, lle a'i gweler yn ofyniadol, gan achos gyfiawn.

Tri pheth a ddifethant wladoldeb: creulonder yn lle cosp; trugaredd, o gariad a pharch, yn gwyraw cyfiawnder; a thwyll gymmrawd, lle nas caffer nawdd gynneddfawl i bob dyn, ai brodor ai aillt y bo.

Tair colofn gwladoldeb: teyrnedd; rhaith gwlad; ac yngneidiaeth.

Tri defnydd cyfraith: gwybodaeth; iawn cynnenid; a chydwybod.

Tri chadernid cyfraith; ynad dysgedig; tyst cywir; a rhaith gydwybodol.

Tri chysswynbwyll y sydd dros gwared llys ac ynad ar gosp gadarn: mam yn gwared ei phlant; mab cyn barf; ac estron anghyfiaith, a wnelo yn erbyn cyfraith a brodoriaeth.

Tri chyffredinion gwlad a chenedl: mêsgoed; helwriaeth; a chlawdd haiarn; ac nis dylit perchenogaeth wahanredawl ar nac un nac arall o honynt

Tri phriodolion gwahanredawl pob gwr rhag arall, ai aillt ai Cymro y bo: gwraig; plant; a da cychwynawl.

Tri thrwyddedawg teulu, ac ni fyddant wrth lafur, a gorchwyl, a swydd: baban; oedranus; ac athraw teuluaidd; sef nis byddant law ar gledd, nac ar arad.

Tri dyn breiniawl ni bydd noeth arf yn eu herbyn: bardd; pencenedl; a chennad gorwlad.

Tri dyn cyffredin ni bydd noeth arf yn eu herbyn: gwr diarf; gwr cyn barf; a benyw.

Tri pheth nis dylit eu gwneuthur ond o ddyundeb gwlád a chlywlad a chenedl benbaladr; symud cyfraith y brenhin; diarglwyddiaethu y brenhin; a dysgu gwybodau newyddion a dosparthau newyddion yng ngorsedd beirdd.

Tri braint gynnenid pob Cymro cynnwynawl—cyfarwys a thrwydded pum erwi rhyddion—braint arfau diffyniadawl, a'u harwyddion sef nas dylit hyny

namyn i Gymro cynnwynawl o fonedd gwarantedig; a braint rhaith yn nawdd ei bencenedl; ac yn oed barf a'u dodir ar Gymro; ac ar Gymraes pan wrao.

Tri mab rhydd o gaeth y sydd: nid amgen, bardd; fferyllt; a gwr llen; o feibion eillion.

Tri pheth y dylai pob Cymro tiriawg eu cadw a'u cynnal; gwraig briod; gwr arfog, lle nas dycco arf ei hunan; ac athraw teuluaidd.

Tri chyffredinion cywlad a gorwlad: prif afon; prif ffordd; a chyrch golychwyd; ac yn nawdd Duw a'i dangnef y byddant y rhai hyny.

Tri pheth rhydd i bob dyn, ai brodor ai estron y bo, ac nid iawn, herwydd cyfraith eu hatal: dwr o ffynnon, neu o nant, neu afon; tanwydd o geubren; a maen na fo yn ngwaith.

Tri pheth ni ddylit eu dwyn i wlad estron, heb gennad gwlad ac arglwydd: aur; llyfrau; a gwenith.

Tri dyn y dylit eu cadw rhag arfau: caeth; mab cyn pedwar ar ddeg oed; ac ynfyd cyhoedd ar byst gwlad ac arglwydd.

Tri dyn nid gair eu gair ar ddim yn y byd: golychwydwr gwedi y torro ei gyngrhair; tyst a gafwyd yn anudon a ddywed yn llys, neu yn arall o fan ar grair; a lleidr cyn-nefodig.

Tri lleidyr ni fyddant eneidfaddeu: gwraig o gyd ledrad a'i gwr; mab di-oedran; a rheidus am ymborth lledrad, wedi cerdded o hono dair tref, a naw tŷ ymhob tref, heb gael rhodd, er ei gofyn.

Tri thrwyddedawg dichwain y sydd; celfydd anianol a wnelo nid llai na gorchest ar gelfyddyd, er lles brodoriaeth; anghyfiaith a ddiangawr o long a dorro yn môr; a broydd, sef a waretto Gymro yn mhyd angeuol.

Tri thrwyddedog bydafog y sydd: oedranus; maban, sef plentyn, ai gwr ai gwraig y bo; ac estron anghyfiaith; sef yw bydafog, un na fyddo arno na swydd na gorchwyl, a'i drwydded yn rhad gan gysswyn paladr.

O dri pheth y cyll Cymro cynnwynol dir ei dad, a braint ei genedl: cwbl garchychwyn i wlad estron; cwbl ymdanc â llu estron yn rhyfel â chenedl o Gymry; a chwbl ymrodd i lu estron gortrech, o fodd, lle y gallai ddiangc."

Mae y cyfreithiau hyn yng nghyda chyfreithiau cyntefig eraill Ynys Prydain, nid yn unig yn tra rhagori mewn teimlad neu synwyr dynol ac egwyddor uchel ar gyfreithiau Groeg a Rhufain gynt, ond yn dwyn cywilydd ar ddeddfau cenedloedd a alwant eu hunain y dyddiau hyn yn Gristionogion. Y maent yn cynnwys hanfod cyfraith, crefydd, a gwroniaeth. Nis gallasai unrhyw genedl ag oedd yn llywodraethu ei hun yn ol yspryd y cyfreithiau hyn fod yn amgen na chenedl fawreddog, waraidd, a rhydd. Un arganmoliaeth grêf sydd yn eu gwneuthur yn deilwng o dderbyniad yw, eu bod mor eglur fel ag i fod yn ddealladwy i bob gradd o ddynion ac o feddyliau.

Heblaw bod yn un o sylfaenwyr deddfwriaeth Prydain, Dyfnwal a gynlluniodd ac mewn rhan a wnaeth ffyrdd milwrol breninol drwy yr Ynys. Yr oedd y rhai hyn yn naw mewn nifer.—1. Y Sarn Gwyddelin, neu y Ffordd Wyddelig, yn ddwy gangen, o Dofer i Fôn a Phenfro. 2. Y Sarn Iken, sef, y ffordd o Gaerdroia drwy y talaethiau Dwyrein-

iol tua'r Gogledd. 3. Y Sarn Ucha, o enau afon y Tyne hyd Lan Ddewi. 4. Y Sarn Ermyn, o Anderida (Penvensey) at Gaer Eiddin. 5. Y Sarn Achmaen, o Gaerdroia i Menevia, (Llanddewi.) 6. Y Sarn Halen, oddiwrth halgloddfeydd swydd Caerlleon hyd at enau yr afon Hymyr. 7. Y Sarn Halen, o'r hal-gloddfeydd i'r Llongborth, (Portsmouth). 8. Yr ail Sarn Ermyn, o Torbay i Dunbreton, ar yr afon Clyde. 9. Y Sarn ar y Môr, neu y ffordd filwrol sydd yn dylyn glân y môr o amgylch yr Ynys. Yr oedd y ffyrdd hyn wedi eu codi yn drumiau a'u palmantu, ac yn rhedeg mewn rhai manau yn unionsyth, ac mewn lleoedd eraill yn ddolenog, ar godiad graddol goruwch y ddaear, ac yn ffurfio gwëadwaith o rydd-dramwyad rhwng dinasoedd Prydain a'u gilydd. Gan eu bod wedi eu gorphen gan Beli, adweinir hwynt fel ffyrdd Beli ym Mrydain. Dylynodd y Rhufeiniaid y ffyrdd hyn yn eu hymgyrchoedd cyntaf ac ail, ac ar ol hyny gwnaethant eu ffyrdd milwrol eu hunain i fesur helaeth ar y rhai hyn. O ganlyniad ceir ffyrdd Beli a ffyrdd y Rhufeiniaid bob amser yn rhedeg i mewn ac allan o'r naill y llall.

Yr oedd teyrnasiaid Dyfnwal yn un o lwyddiant hynod. Yr oedd y fasgnach mewn alcam, copr, haiarn, plwm, a meirch, a ddygid ym mlaen gyda Tyrus a'r Dwyrain drwy gyfrwng y Phœniciaid, wedi cyrhaedd y fath raddau o helaethrwydd na bu ei gyffelyb cyn hyn. Yr oedd gwneuthuriad cleddyfau (y rhai a galedid trwy ryw fodd anadnabyddus i ni yn awr, i dymheredd yn tra rhagori ar ddûr,) cerfluniau, addurnau drysau, pyrth o bres—i gyfansoddiad yr hwn yr â llawer o alcam—yn cael eu dwyn ymlaen i'r fath helaethrwydd fel yr ymddangosai Asia yn orlawn o honynt. Nid oedd unrhyw gloddfeydd alcam yn bodoli y pryd hyny ond rhai Prydain, ac nid oes dim rhai i'w cael yn awr ond yr eiddo Malacca, y rhai mewn cymhariaeth sydd o ddarganfyddiad tra diweddar. Gan hyny, pa le bynag y crybwyllir am y mettel prês gan yr awduron sanctaidd neu glasurol, y mae yno brawf o fasnach a llaw-weithiau Prydain Droianaidd. O Phœnicia a'r Dwyrain mewn ad-daliad y rhedai yma yn barhaus ffrŵd o'r metteloedd gwerthfawr. Byddai marsiandwyr Prydain yn mynychu marchnadfa Tyrus; ac yr oedd Ezeciel yn berffaith gywir pan yn darlunio y ddinas a gyfodai "mewn gogoniant a thegwch mawr, yn *nghanol y môr*," fel marchnadyddes pobloedd yr

ynysoedd pell. Mae y cyfoeth a ddeilliai oddiwrth y drafnidiaeth a ddygid ym mlaen fel hyn yn rhoddi eglurhad rhwydd ar waith y Cymry yn treulio cymmaint o aur ac arian er addurno eu meirch a'u harfau.

Ar ol teyrnasiad gwiwgof dros ddeugain mlynedd, bu farw Dyfnwal Moelmud, a chladdwyd ef yn y Tŵr Gwyn, yng Nghaerdroia. Dylynwyd ef i'r orsedd gan ei fab hynaf, Beli; a rhoddwyd llywodraeth yr Alban i'w fab ieuengaf, Brân.

Ond Brân, yr hwn oedd wr ieuanc o dymher sarug ac uchelfrydedd diderfyn, yn nodedig am wroldeb nad allai unrhyw anhawsderau ei ddigaloni, ac am haelder tuag at ei gyfeillion nad oedd unrhyw drysorfeydd, gan nad pa mor dywysogaidd fyddent, a allent ei gyflenwi, a daflodd ei hun yn fuan i ddyrysweh ac anghydfod rhyngddo ef a'i frenin a'i frawd. Yn cael ei gynhyrfu gan y cymhellion arferol y rhai y gŵyr llyswyr a chennadwyr breninol mor dda pa fodd i'w cymhwyso at fynwes breninoedd, dechreuodd ymbaratoi i ymladd am y goron benbaladr. Er mwyn cryfhau ei hun i'r anturiaeth annaturiol yma, efe a fordwyodd i Norway, lle yr ennillodd serch ac y priododd Anaor, merch Elsing, brenin Llochlyn. Yr oedd Anaor wedi ei dyweddïo yn flaenorol i Guthlac, brenin y Cersoniaid Cymreig, yr hwn, pan glywodd am yr anfri a daflwyd arno fel hyn, a ddarparodd lynges er dal Brân ar ei ddychweliad yn ol. Gan fod Beli wedi derbyn hysbysiad o'r fradwriaeth ym Mhrydain, efe a ymdeithiodd yn ddioed tua'r Gogledd, ac a gymerodd feddiant o'r holl ddinasoedd caerog ag oedd yn nhiriogaethau ei frawd. Pan gyd-gyfarfyddodd Guthlac a Brân gyda eu llyngesau, ataliwyd y frwydr gan dymhestl ffrochwyllt; ond dygwyddodd i'r llong yr oedd Anaor ynddi gael ei chymeryd yn y terfysg gan Guthlac. Parhaodd cynddaredd y dymhestl am bum niwrnod, ar derfyniad yr hon yr aeth yn llong-ddrylliad ar Guthlac ac Anaor gyferbyn a Bamborough, lle yr oedd Beli wedi gwersyllu, yn barod i guro yn ol drais-ymgyrch ei frawd. Arweiniwyd hwy yn ddioed ato ef, a chawsant dderbyniad anrhydeddus. Ym mhen ychydig ddyddiau ar ol hyny, gan ei fod wedi gallu dal yn ddyogel yng ngwyneb y dymhestl, daeth Brân gyda'r gweddill o'i lynges arfog i mewn i Albania. Cyrhaeddodd y newydd ato yn fuan ddarfod cymeryd ei wraig, yn gyntaf gan Guthlac, ac wedi hyny

gan Beli. Wedi ei greuloni gan yr hysbysiad hwnw, gwthiodd ym mlaen tua Bamborough, gan gyhoeddi y byddai iddo ddystrywio yr holl Ynys â thân ac â'r cleddyf, oni adferid iddo ei wraig ieuanc a'i deyrnas. Gan i Beli lwyr omedd gydsynio â'r gofynion hyn, cymerodd brwydr le yn Calater. Gorchfygwyd y Norsemyn gyda cholled o bymtheg mil o laddedigion, a gorfu ar Brân ffoi i Gal er mwyn achub ei fywyd. Yna Guthlac, wedi llaw-nodi cytundeb drwy ba un y daeth y Gerson Gymroaidd (Dacia, a elwid wedi hyny Denmarc), yn rhan o'r Ymherodraeth Brydeinig, a ollyngwyd ymaith gydag Anaor i'w deyrnas ei hun. Teruliodd Beli y saith mlynedd dylynol ar y gwaith o orphen y ffyrdd a ddechreuwyd gan ei dad. Gwnaed cyfraith i'w taflu yn agored i bawb, brodorion ac estroniaid, ac i'w gosod ar yr un sail o ddyogelwch cysegredig ag a berthynai i'r afonydd a'r cysegr.

"Tri chyffredinion cywlad a gorwlad: prif afon; prif ffordd; a chyrch golychwyd: ac yn nawdd Duw a'i dangnef y byddant y rhai hyny; cyd nas noether arf gan a'u cyrchont yn erbyn a gyfarfyddont; ac a wnelo hyny, ai brodor ai estron y bo, hawl galanas gan gwyn arno gan arglwydd y cyfoeth."

Yn y gyfraith hon y dechreuodd yr ymadrodd—"Prif-ffordd y Brenin!" y prif-ffyrdd hyn, ar ba rai yr oedd yn enaid-faddeu atal neb rhyw deithiwr neu gyflawni arno unrhyw drais, oeddynt naw ffordd Beli, wedi eu gosod fel hyn dan nawdd Duw a'r genedl.

Yn y cyfamser, wedi erchi yn ofer am gynnorthwy gan freninoedd y Celtiaid, aeth Brân at Seguin, tywysog y Liguriaid yn Gal. Cafodd groesawiad megys yr oedd yn gweddu i urddas ei enedigaeth ac i'r berthynas oedd yn bodoli rhwng Lliguriaid yr Alpau a Phrydain. Oherwydd ei wasanaeth ar y maes derbyniai barch gan yr holl genedl, ac enniliodd ei gymhwysderau personol iddo serch Rhonilla, unig blentyn y tywysog. Hwy a briodwyd: ac addawodd Seguin gynnorthwyo ei fab y'nghyfraith i adennill ei lywodraeth ym Mhrydain, ac ar yr un pryd pennododd ef i fod yn olynydd iddo ei hun ar orsedd Lliguria. Bu farw Seguin ar ddiwedd y flwyddyn. Pan esgynodd Brân i'r orsedd, rhanodd yn ddioed y trysorau a bentyrwyd gan yr hen frenin, rhwng y penaethiaid mwyaf dylanwadol yn ei diriogaethau newyddion, a thrwy hyny ennillodd eu cyd-

syniad a'u cydweithrediad yn yr ymgyrch a fwriadai yn erbyn Prydain. Gwnaed cytundeb â'r Celtiaid am gael mynedfa rydd drwy Gâl; casglwyd lluoedd milwrol o bob parth, y rhai o'r diwedd a aethant ar fwrdd llynges a adeiladasid i'r dyben hyny gan Vanetiaid (Gwynedd, Venedotia, La Vendee)Armorica. Glàniwyd yn Anderida,—sef, yr un man y cafodd Vespasin, Ella y Sais, a Gwilym y Normaniad, mewn oesoedd dylynol, fynediad i mewn i Brydain. Beli, gan ymdeithio o Gaerdroia, a drefnodd ei fyddinoedd gyferbyn ag eiddo ei frawd, a buasai yr un tir, yr hwn wedi hyny a fygodd gan waed goreu Lloegr dan lywyddiaeth Harold, yn llifo yn awr gan waed Prydain Droianaidd oni bai am gyfryngiaeth Corwena, mam oedranus y ddau benadur ymrafaelgar. Wedi iddi dan grynu gyrhaedd yr orsaf oddiar ba un yr areithiai Brân ger bron ei fyddin, hi a blethodd ei dwylaw am ei wddf ef pan yn dyfod i lawr i'w derbyn, a chusanodd ef mewn llewygfeydd o serchawgrwydd. Yna hi a'i tyngedodd drwy bob rhyw apeliad a allai mam ei ddefnyddio wrth gyfarch mab, i'w gwared rhag yr olygfa echryslawn o weled plant ei chrôth ar waith mewn ymladdfeydd drygionus yn erbyn Duw, cyfreithiau natur, eu gwlad, a hwy eu hunain. Ar ol dangos anghyfiawnder ei achos, ac mor hawdd y gallai gyrhaedd goruchafiaethau llawer ardderchocach na goruchafiaeth ar ei frawd, pe byddai y ddwy fath fyddin, yn lle dystrywio, yn ymuno a'u gilydd, hi a erfyniodd arno adgymodi â'i frenin cyfreithlawn. Gwedi ei ddwyn i deimlad gan y darluniadau hyn, rhoddodd Brân ei helm a'i arfau ar yr orsaf, ac yng nghanol dystawrwydd mawr y ddwy fyddin aeth gyda hi yn bennoeth at ei frawd. Wrth ei weled ef yn dynesu, disgynodd Beli o'i gerbyd, taflodd ei waywffon i lawr, a chan ei gyfarfod ar hanner y ffordd, efe a'i cofleidiodd yn garuaidd. Y ddwy fyddin wrth weled yr olygfa a rwygasant yr awyr â'u banllefau. Ymhen ychydig funydau yr oedd pob trefn wedi ymddatod; nis gellid mwyach wahaniaethu rhwng Prydeinwr a Lliguriad; yr oedd y banerau wedi eu rhwymo ynghyd. Wedi i forwyr y llynges glywed am y dygwyddiad, daethant yn lluoedd i'r làn, a'r diwrnod a fygythiai fod yn un o'r rhai mwyaf gwaradwyddus a thrychinebus yng ngofnodau Prydain, a derfynodd mewn jubili gyffredinol o wleddoedd llawenydd. Da i ddynolryw pe byddai mam pob brenin yn Gorwena—pe gwrandawai pob teyrn

ymrafaelgar ar wrthdystiadau natur a dynoliaeth gyda'r un parodrwydd ag y gwnaeth Beli a Brân.

Ar ol cydymgynghoriad maith, penderfynodd Beli, gyda'r byddinoedd cyngrheiriol, geisio goresgyn Ewrop. Yr oedd y genedl yn mwynhau tawelwch gartref—y deyrnwialen yn cael ei llywio gan law nerthol,—llu dirfawr yn hiraethu am rywbeth i'w wneuthur, y rhai yr oedd yn beryglus ymyru a'u huchel-geisiadau—y trosglwydd-longau ar yr afon Dafwys; Gâl yn cael ei dryllio gan fân-ymbleidiau, a phobl Umbria yng Ngogledd yr Eidal ond dysgwyl yn unig am weled baner fawr eu hiliogaeth—sef y Ddraig Gôch, wedi ei dadblygu ar grîb yr Alpau, cyn cyfodi ac amddiffyn eu hen rydd-freintiau. Yn ganlynol, tiriodd y fyddin arfog, yr hon oedd gynnwysedig o 300,000 o wyr, wrth enau afon y Seine. Un frwydr ar wastadedd Tours a benderfynodd dynged Gâl. Dinas ar ol dinas wedi blino ar ymrafaelion gwladol y rhai nid arweinient at un dyben llesol, a dderbyniasant yn llawen yr oruchafiaeth yr oeddynt hwy yn ei ddysgwyl a ddygai yn nglyn â hi fendith y buont cyhyd yn ddyeithriaid iddi, sef dyogelwch bywyd ac eiddo. Cafodd y minteioedd yspeilgar ag oeddynt dan yr enw milwyr yn heidiau yn Gâl, naill ai eu dyfetha neu eu cydgorffori yn y byddinoedd rheolaidd. Bu dwy flynedd yn ddigonol i ddarostwng yr holl wlad Geltaidd dan ddeddf a llywyddiaeth Frutanaidd. Yna y fyddin Gymreig-Geltaidd a ymsymudodd dan arweiniad y ddau frawd tua'r Eidal. Ymunodd y Lliguriaid â hwynt, a'r mynediad cyntaf dros yr Alpau gan fyddin filwrol a gyflawnwyd yng ngwyneb yr hyn a ymddangosai yn anmhosibl. Mae y clôd a gysylltiwyd âg enwau Hannibal a Napoleon yn perthyn mewn cyfiawnder i enwau y ddau gadflaenor Brutanaidd, Beli a Brân. Hwynt hwy oeddynt yr anturwyr cyntaf, a'r rhai cyntaf hefyd a lwyddasant i fyned dros yr atgloddiau eirllyd a adeiladodd natur megys o bwrpas i amddiffyn gwledydd heulog yr Eidal rhag cleddyf y Gogledd. O barth nodweddiad y byddinoedd ag oeddynt ar fedr ail-sefydlu yr Ymherodraeth Gymreig yn yr Eidal y mae genym hanesion bywiog wedi eu trosglwyddo i ni gan yr awduron clasurol. Dywed Plutarch, "Mae y Cimbri penaf, a mwyaf rhyfelgar, yn byw yng nghefnfor y Gogledd, yn eithafion y ddaear. Gelwir hwy yn Gimbri—nid oddiwrth eu moesau, ond enw eu *cened ydyw.* O barth eu gwroldeb, eu hysbryd, eu

grym, a'u bywiogrwydd, nis gallwn eu cymharu i ddim ond i fflam ddifäol. Mathrent bawb a ddeuent o'u blaen, neu ymlidient hwy ymlaen fel gýroedd o anifeiliaid." Mae Justin yn cofnodi chwedl yn arddangos gyda pha ddiystyrwch y golygent gymeriad a gwyddor filwrol y Groegiaid. Ar ol darostwng y Tribaliaid a'r Gothiaid (*Getæ*), cynnygiodd y Celtiaid Cymroaidd eu cyngrheiriaeth i Antigonus, brenin Macedonia, fel gwystl o'u tuedd heddychlawn tuag ato ef. Ond triniodd Antigonus y cynnygiad fel pe buasai wedi deilliaw o ofn neu gyfrwysdra. Gofynodd y Cymry i'w cennadwyr, ar eu dychweliad, "pa beth yw y Groegiaid hyn?" "Y maent yn nodedig am ddau beth," atebai y cennadwyr, "galwant sefyllfaoedd nad oes iddynt na chylch-ffosydd na rhagfuriau, yn wersylloedd, a thybiant os bydd ganddynt ddigon o aur, nad rhaid iddynt wrth ddur." Ysgubodd y fyddin Gymreig dros wastadedd Gogleddol yr Eidal yn dair dosran. Safodd yr Etruriaid yn wrol o blaid eu hymerodraeth, ond yn ofer. Wedi cael eu gorchfygu mewn pump o frwydrau, gwnaethant i'w poblogaeth gystlynaidd gilio tua'r deheu, gan roddi pob dinas, fel yr oeddynt yn ei gadael, ar dân. Adferwyd yr hên genedligrwydd Umbraidd, gan i'r gwaredigion a'r gwaredwyr gael eu ffurfio yn un blaid gyngrheiriol gyda'r un cyfreithiau ac iawnderau. Sonia Justin a Pliny am y dinasoedd canlynol fel wedi cael eu sylfaenu gan Brân pan ymlidiwyd allan y Tuscaniaid,—sef, Milan, Como, Brescia, Verona, Burgamo, Mantua, Trent, a Vicentia. Dylid sylwi, fod goresgyniadau y Cymry bob amser yn ol egwyddorion gwareiddiad, ac nid dystrywiad. Pa le bynag yr ymsefydlent, yno cyhoeddent gyfartaledd cyfreithiau, codent demlau, llunient ffyrdd, adeiladent ddinasoedd, a diwyllient lenyddiaeth, yn enwedig barddoniaeth. Ar y llaw arall, yr oedd goresgyniadau yr Allmaenwyr a'r cenedloedd Gogleddol yn yr oesoedd tywyll, yn rhai barbaraidd a chroes i wareiddiad —yn cael eu dwyn ymlaen yn ol yr egwyddor o ddystrywiaeth ac nid ceidwadaeth a chyfuniad. O'r Celtiaid Cymroaidd perthynol i Gâl Gisalpaidd y deilliodd llawer o ysgrifenwyr cyntaf yr ymherodraeth Rufeinig—megis Livy, Pliny, Catullus, Virgil, &c., &c.

Darlunir Rhufain y pryd hwn gan ei hysgrifenwyr ei hun fel prif-ddinas annibynol, yn arferu cryn lawer o ddylanwad yn yr orynys Eidalaidd. Ond dywed yr ysgrifen-

wyr Brutanaidd yn y gwrthwyneb i hyn, ei bod yn ddybynol ar Etruria neu dan deyrnged iddi, a bod y Porsena neu Frenin Etruria wrth fraint y cyfryw gyfenwad, yn uchelfaer neu yn brif heddynad Rhufain. Cadarnheir hyn gan yr haneswyr Groegaidd, a chan yr ymchwiliad manwl a wnaed yn ddiweddar i'r rhan neillduol yma o draddodiadau boreuol Rhufain. Y modd y daeth y Cymry i anghydfod â'r ddinas, yr hon a fuasai bob amser yn ddinas gysegredig eu ciwdawd yn yr Eidal, ac mewn amser dylynol a fuasai yn llywodraethu y byd, oedd fel y canlyn:—

Ar ol goresgyn Celtica Gisalpaidd, ymdeithiasai Beli gyda hanner ei fyddin tua'r Gogledd lle y bu ar waith yn darostwng yr amrywiol dylwythau pa rai mewn oesoedd dylynol a adnabyddid gyda'u gilydd fel y bobl Allmaenaidd neu Deutonaidd. Dygodd y Rhufeiniaid dryfysg mawr i mewn i hanesyddiaeth drwy beidio a rhoddi i genedloedd eu henw llinachol, neu yr enw wrth ba un yr arferent alw eu hunain, eithr rhyw enwad oedd wedi ei gysylltu wrthynt oddiwrth rhyw nodwedd neu arferiad neillduol. Yr un ystyr sydd i'r gair *German* yn yr iaith Deutonaidd, ag sydd i'r gair *Belgi* yn y Gymraeg—sef, câdwyr, rhyfelwyr. Cymry ac nid Celtiaid oedd Belgiaid y Cyfandir. Disgynyddion oeddynt o'r Cymry a oresgynasant y wlad dan arweiniad Brân, ac yn amser Caisar oeddynt yn meddianu un ran o dair o Gâl. O du y Dwyrain iddynt yr oedd y Teutoniaid (Tudeschi, Deutch), gwedi ymsefydlu. Darostyngwyd hwythau hefyd y pryd hyn gan Beli; a'r gyfran ffrwythlonaf o'u tiriogaeth o amgylch y wigfa Hercynaidd a ranwyd rhwng y fyddin Gymraeg-Geltaidd. Adnabyddid y Celtiaid Cymroaidd yn amser Caisar wrth yr enwad Volcæaid, a chadwent eu hên uchafiaeth mewn arfau a gwareiddiad ar y Teutoniaid amgylchynol. Brân gan sefydlu ei brif luest-dŷ ym Mediolanum (Meifod, Milan,) yn raddol a estynodd ei arfau tua'r Dehau. Ym mhlith dinasoedd eraill gwarchaeodd ar Clusium, sef, dinas yn Etruria Isaf. Anfonodd y trigolion am gynnorthwy i Rufain. Daeth tri o frodyr perthynol i'r genedl Ffabiaidd gyda'r ddirprwyaeth yn ol fel brein-gennadwyr. Ar ol deisyf cael ymgyfarfod ac i hyny gael ei ganiatau, gofynwyd i Brân, Pa niwed a wnaethai y Clusiaid iddo? atebodd yntau, "Mae gan yr Etruriaid hyn gymaint arall o dir ag a allant ei ddiwyllio—yr ydym ninau yn nerthol, yn lluosog, ac mewn eisiau tir,

er hyny gomeddant ymadael ag un erw o'u tiriogaeth ddifudd." Ond drwy ba hawl yr ydych yn arddelwi hyny? gofynai y brein-gennadwyr drachefn. "Drwy yr hawl hynaf o bob hawl," atebodd Brân, gyda gwên sarug,—sef, "y ddeddf ag sydd yn rhedeg drwy holl natur, ac i'r hon y mae pob anifail yn ddarostyngedig—sef hawl y cryf ar y gwan. Yn ol y ddeddf hon y cafodd yr Etruriaid hyn, a chwithau Rufeiniaid, eich tiriogaethau ar y dechreu. Naill ai adferwch y tiriogaethau hyn i'w perchenogion cyntefig, neu ynte sefwch wrth y gyfraith yn erbyn eich hunain."

Dranoeth, blaenorodd Quintus Ambustus Fabius y Clusiaid mewn rhuthr-gyrch yn erbyn y gwarchaewyr. Lladdodd un o'r swyddogion Cymraeg, a thra yn ei yspeilio o'i arfau, canfyddwyd mai un o'r brein-gennadwyr Rhufeinig ydoedd. Ym mhlith y Cymry, yr oedd pob brein-gennad yn cael ei ystyried yn wr cysegredig, ac megys y gwelsom, gwaherddid iddo ef gario arfau ei hunan; yr oedd yn drosedd mawr i neb arall hyd yn oed ddynoethi cleddyf ger ei fron ef. Gan hyny yr oedd eu digofaint, oherwydd y troseddiad dyblyg yma o'r cyfreithiau cydrhwng cenedloedd, megis eu cydnabyddid yn eu plith eu hunain, yn enbyd dros ben. Brân, gan symud ei wersyll, a ddanfonodd gennadwriaeth i Rufain, i orchymyn iddynt draddodi Quintus Fabius i fyny i'w ddwylaw ef. Cynghorodd y Feciales, neu goleg y rhingyllwyr yn Rhufain, i'r senedd gydsynio â'i gais ef, gan ddangos erchylldra y weithred ag oedd yn taflu dianrhydedd ar yr holl genedl. Er hyny, y bobl (Plebs) nid yn unig a wrthwynebent yr annogiad, ond gwnaethant y tri brawd yn swyddogion milwrol, gan eu pennodi yn flaenoriaid ar y fyddin. Gan hyny, Brân yn ddioed a roddodd y gair "I Rufain." "Ni wnaeth ei luoedd," medd Plutarch, "niwed i eiddo neb; ni anrheithiasant y maesydd, ac ni ddygasant unrhyw sarhâd ar y trefydd. Ar y 6ed o Fehefin, 363 A.U., 490, c.c., ymgyfarfyddodd y ddwy fyddin wrth y fan lle mae yr afonig Allia yn rhedeg i'r Tiber. Gorchfygwyd y Rhufeiniaid gyda lladdfa fawr; ac ym mhen tri diwrnod ar ol hyny, syrthiodd Rhufain ei hun, oddieithr y castell yn unig, i ddwylaw y gorchfygwyr. Ystyrid cylchwyl brwydr Allia fel "dydd dû" y'nghalendar y Rhufeiniaid. Ni chyflawnid un gorchwyl arno, a phob dinesydd a wnelai ei ymddangosiad ar g'oedd, a wnai hyny mewn galarwisg. Safodd y castell yn erbyn y warch-

äedigaeth am chwe mis. Yn y cyfamser, aeth Fabius Dorso yn ei wisg archoffeiriadol i'r Bryn Quirinal i offrwm yno yr aberth a arferid ar genedl-ddydd (*dies gentilitia*) ei deulu. Mae yr ysgrifenwyr Rhufeinig yn datgan eu syndod ei fod wedi cael ei oddef i wneuthur hyny, a dychwelyd mewn dyogelwch. Ond buasai y Cymry yn meddwl taraw eu brenin cyn gynted ag a fuasent yn meddwl dynoethi cleddyf yn erbyn offeiriad neu ben cenedl. Wrth wneuthur ffordd iddo fyned, a'i ddyogelu yn ol i'r castell, nid oeddynt ond cadw defodau Prydain. Gan i Brân mewn ail fuddugoliaeth orchfygu yr ymgais a wnaed gan y Porsena o Etruria i dori y warchäedigaeth, cytunodd y Rhufeiniaid i roddi mil o bwysau o aur yn bridwerth am ryddhad y castell. Pan oedd yr aur yn cael ei bwyso ym mhresenoldeb y gwahanol gadbeniaid, tynodd Brân ei wregys a'i gleddyf a thaflodd hwynt i'r fantol arall. "Pa beth yw ystyr y weithred yna?" gofynai y prif-swyddog Rhufeinig. "Ei hystyr yw," atebodd Brân, "gwae gwaethedigion," (*væ victis*). Goddefodd y Rhufeiniaid yr ateb dirmygus mewn dystawrwydd. Trosglwyddwyd yr aur i Narbonne yn Gâl. Yna Brân a gymerodd ei luoedd ymaith, ac yn fuan wedi hyny a wnaeth gyngrhair ymosodol ac amddiffynol gyda Dionysius o Sicily.

Mae yr hanes a dderbynid unwaith am ail-gaffaeliad yr aur a gorchfygiad Brân gan Camilus, yn cael ei wrthod yn awr gan bob ysgolaig fel ffugwaith o eiddo gwag-fost y Rhufeiniaid. Y ffaith yw, nid yw Rhufain yn dyfod o fewn cyffiniau hanesyddiaeth ond ar ol iddi gael ei chymeryd gan y Cymry.

Mae Virgil, yr hwn nis gellir canmol gormod ar ei gywirdeb hynafol, yn darlunio gwisg ac arfau gorchfygwyr Rhufain:—dywed fod eu gwisg yn llawn o sider aur (*aurea vestis*,) eu bod yn gwisgo torch aur o amgylch eu gyddfau, a chleddyf wrth eu hochr, ac mai dwy waywffon gyda phenau trymion o ddûr, oeddynt eu prif arfau tafl: fod ganddynt darianau hir-gul yn gorchuddio eu holl gyrff pan mewn brwydr; y rhai a gludent ar eu hysgwyddau wrth deithio. Yn Gymraeg arferir y gair ysgwydd am darian ac ysgwydd, felly nid yw "*scutum*" ond tarian yr ysgwydd. Un o'r profion mwyaf nodedig o israddiaeth a bychander ysgoleigdod diweddar, yw, ddarfod iddi gymeryd ei Rhufeinio gymaint fel ag i dybied nad oedd byddin a ddarlunir fel

hyn fawr bellach ymlaen na'r Rhufeiniaid eu hunain yn holl elfenau gwareiddiad.

Bu Bran yn teyrnasu yng Ngogledd yr Eidal am ddeng-mlynedd-ar-hugain. Y deyrnas Gymraeg-Geltaidd wedi ei sefydlu fel hyn a adnabyddid rhagllaw fel y Gâl Gisalpaidd. Mae ei hanes ddylynol yn gysylltiedig ag eiddo y Rhufeiniaid. Ei phobl hi oedd y genedl gyntaf a dderbyniwyd i mewn i gyflawn freintiau dinasyddiaeth Rhufain.

Ar ol goresgyniad yr Almaen, sylfaenodd Beli Aquilla, lle ar ol hyny yr addolid ef megis duw. Fel yr oedd yn dychwelyd adref drwy Gâl, efe a ranodd ei thiriogaethau rhwng ei bum mab ieuengaf, gan gadw llywodraeth Prydain yn unig yn ei ddwylaw ei hun. Treuliodd y blynyddoedd diweddaf o'i deyrnasiad hir a gogoneddus yn y gwaith o wneuthur deddfau heddychlawn, ac o adeiladu gweithydd cyhoedd. Dechreuwyd a gorphenwyd castell Beli (*Billing's gate*), a cheulanau enfawr y Tafwys, dan deyrnasiad y penadur hwn. Efe a adeiladodd hefyd Gaer-leon, neu fel y gelwid ef ar y dechreu Caer-wysg, ac a adgyweiriodd demlau Derwyddol Côr Gawr (*stonehenge*), ac Ambri. Bu farw yn y 80ain mlwydd o'i oedran. Llosgwyd ei gorph a rhoddwyd ei ludw mewn llestr aur ar ben tŵr uchaf ei balas oedd yn ymyl yr afon Tafwys.

Ar ei ol y daeth Gwrgant Farfdrwch i'r orsedd. Y prif ddygwyddiad dan ei deyrnasiad ef ydoedd darostyngiad Dacia (*Denmarc*) i'w chyflwr o wriogaeth, yr hon a wnaethai ymgais ar ymwahanu, a gosod ei hun yn annibynol. Fel yr ydoedd yn dychwelyd i Brydain, cyfarfyddodd â llynges Iberiaidd neu Hispaenaidd, yn chwilio am wlad i'w phreswylio. Eu harweinydd ydoedd Partholyn. Rhoddodd Gwrgant iddynt Ddeheubarth Erin, neu Ierne, (Iwerddon). Ac oddiwrthynt hwy y disgynodd breninoedd y Milesiaid a chiwdodau y chwaer ynys.

Claddwyd Gwrgant yng Nghaerlleon.

O'r amser hwn hyd oddeutu hanner cant o flynyddoedd cyn ymgyrch Iwl Caisar, bu Prydain yn mwynhau cyfnod hir o heddwch a llwyddiant.

Llywid y deyrnwialen gan y breninoedd canlynol:—Gorfyniawn—Arthal—Elidyr Wâr—Owain—Peredur—Rhys—Morgan—Einion—Rhûn—Geraint—Cadell—Coel—Por—Ceryn—Fulgen Eidal—Andras—Urien—Eliud—Clydoc—Clydno—Gorwst—Meirion—Bleiddyd—Caph—Owain

—Seisyllt—Blegwryd—Arthmael—Eidol—Rhydion—Rhydderch Sawl Ben uchel—Pir—Capeir—Mànogan, ar ol yr hwn y daeth ei fab Beli Mawr. Mae yr achau Cymraeg yn gyffredinol yn dwyn yn eu dechreu lythyrenau cyntaf ei enw—B.M. Mae yr olyniaeth oddiwrtho ef i fyny at Brut, sylfaenwr y Lîn Droianaidd, yn hawdd i'w chael allan, ond olrhain rhyw rai o'r hên linachau breninol. Bu Beli yn teyrnasu am ddeugain mlynedd. Yr oedd ganddo dri o feibion, sef Lludd, Caswallon, a Nyniaw. Daeth Lludd i'r orsedd ar ei ol ef. Ac efe a ail-adeiladodd furiau Caerdroia newydd gyda saith o brif byrth a thyrau. Mae un o'r rhai hyn, sef, Porth Lludd (*Ludgate*) yn cynnal ei enw eto. Efe a roddodd orchymyn ar fod i'r ddinas gael ei galw o hyny allan yn Lludd-din (Londinum, Caer Lludd) yn lle Caerdroia. Bygythiodd y bobl, y rhai a flaenorid gan Nyniaw, y codent ac y diorseddent Ludd, oni alwai y gorchymyn ol. A bu gorfod iddo wneuthur hyny. Ar ol marwolaeth Nyniaw, gwnaed ail gais, yr hwn a gefnogid gan Afarwys, a bu hwn yn fwy llwyddianus. A daeth yr enw Londinium yn raddol i gymeryd lle yr enw gwronaidd Caerdroia. Claddwyd Lludd yn y ddaear-gell sydd dan ei dŵr ym Mhorth Lludd. Gadawodd ar ei ol ddau fab yn dra ieuainc, sef, Afarwys a Theneufan. Gan fod y Gwyddelod wedi tirio ym Môn, a lluoedd arfog y Rhufeiniaid dan Caisar yn bygwth yn awr ddarostwng Gâl a Llydaw yn hollol, pennodwyd Caswallon yn rhaglaw y deyrnas am yr yspaid y byddai y meibion hyn dan oed. Yna efe a gychwynodd yn ebrwydd tua Môn; ac a orchfygodd y Gwyddelod ym Manuba, gyda'r fath laddfa fel y cododd pla yn y wlad oddiwrth y nifer o gyrff meirwon a orweddent ym mhoethder yr haf. Casglwyd yr esgyrn ar ol hyny yn dyrau enfawr ar y cŵr agosaf i'r Iwerddon, sef Caergybi. Ar ei ddychweliad i Lundain, daeth cenadau ato o Gal i erfyn am gynnorthwy ganddo yn erbyn Caisar.

Cyn myned ym mlaen at y cyfnod Rhufeinig, gall mai buddiol fyddai i ni roddi hanes cryno am y Grefydd fawr Genedlig, neu Dderwyddol, dan ba un y bu Prydain yn cael ei llywodraethu am y lluaws canrifau hyn, ac i ba un yr oedd hi yn ben ac yn ganolbarth Japhethaidd yn Ewrop.

## CREFYDD DDERWYDDOL PRYDAIN.

Dygwyd y Grefydd Dderwyddol i Brydain gan y Gomeriaid, o Fynyddoedd Noah, neu y Caucasus, ar eu hymfudiad cyntaf yma dan Hu Gadarn. Ei phrif egwyddorion oeddynt y rhai canlynol.—

"Yspryd anfeidrol yw Duw, a'i natur yn ddirgelwch hollol i ddyn yn y cyflwr presennol. Hunan-hanfodiad yw; o honaw y tarddodd yr holl greadigaeth, ac atto Ef y mae yn dadansoddi ei hunan yn ol bob amser. Dengys ei hun i'r meddwl dynol ar ddull triphlyg gyda golwg ar a fu, y sydd, ac a fydd. Mewn perthynas i'r hyn a fu, Creawdwr yw; mewn perthynas i'r hyn y sydd, y mae yn Iachawdwr neu Geidwad; a chyda golwg ar a fydd, y mae yn Adgreawdwr. Ac yn yr Adgreawdwr cynhwysid hefyd y drych-feddwl o ddystrywiwr neu ddadansoddydd. Yr enwau Derwyddol mwyaf cyffredin ar Dduw oeddent, Duw, Deon, Dofydd, Celi, Iôr, Perydd, Rhên, Nêr.

Gwaith Duw yw defnydd. Heb Dduw nid all mo'r bod. Natur, gweithrediad Duw ydyw drwy gyfrwng defnydd.

Defnydd yw y bydysawd wedi ei drefnu a'i ddosparthu gan ddealltwriaeth Duw. Crewyd ef gan Dduw trwy yngan ei air—pryd y neidiodd goleuni o'r nefoedd i fodolaeth ar unwaith. Y mae enw Duw ynddo ei hun yn allu crëedigol. Beth ynddo ei hun yw yr enw hwnnw, ni ŵyr neb ond Duw yn unig. Y mae pob peroriaeth neu gyngan naturiol yn adsain egwan a thorredig o'r enw crëedigol.

Yr arwydd Derwyddol o hono ydynt dair pelydren o oleuni. O'r tair pelydren hyn, mewn gwahanol osodiadau, y lluniwyd Coelbren y Beirdd, neu y Wyddor gyntefig. Nid ellir didoli gwybodaeth a chrefydd oddiwrth eu gilydd.

Y mae y bydysawd o ran ei sylwedd yn dragywyddol a didrangc, ond ei fod yn ddarostyngedig i chwyldroadau olynol o ddadansoddiad ac adnewyddiad.

Mymryn ydyw yr enaid o'r Duwdod, ac yn meddu ar gyntefigrwydd ei holl alluoedd. Penderfynir a rheolir ei weithrediad whrt natur y corph y mae efe yn ei fywhau.

Eithafnod hanfod syniol ydyw hwnnw lle y mae drwg heb y gronyn lleiaf o dda. O'r pwngc hwn y mae hanfod yn esgyn o ryw i ryw, nes cyrhaedd ei ben draw drwy ymgymysgu â'r Duwdod. Dyndod yw y pwngc canol, lle mae y drwg a'r da yn gyfartal. Y mae pob bod dynol yn rhydd-weithredydd—yr enaid yn ol ei ddewisiad yn ddarostyngedig i syrthio yn ol i ddyfnderoedd abred, neu yn alluog i ddyrchafu i gylch y gwynfyd. Y mae prawf yn darfod gyda phwngc rhyddid. Goruwch iddo dâ yn unig sydd yn teyrnasu. Trwy esgyn fel hyn y mae yr enaid o'r diwedd yn cael ei uno â Duw, ac yn dyfod yn rhan o hono, ac yn Nuw drachefn yn treiddio drwy'r bydysawd.

Y mae gan yr enaid ag sydd wedi esgyn goruwch y cyflwr prawf allu i ddychwelyd yn ol, a chymeryd dynoliaeth arno drachefn, er lleshad dynolryw. Teimlir yr ad-gnawdoliad hwn yn ei weithrediad a'i effeithiau trwy yr holl fodau hynny, natur pa rai a gymerodd yr ymwelydd nefol arno.

Y mae yr enaid sydd well ganddo ddrwg na da yn troi yn ol i breswylio corph anifail a fyddo o'r un natur. Dechreuir ar y natur anifeilaidd y munyd y dewisir y drwg yn lle'r da. Ond i ba radd bynag o abred y syrth yr enaid, mae y moddion i ail gaffael dynoliaeth bob amser yn agored iddo. Caiff pob enaid, er amled y syrth, gyrhaedd yn y diwedd ben draw dyben ei hanfodiad—sef undeb â Duw.

Dechreuodd creadigaeth anifeiliaid gyda milionos y dwfr. Y mae yr anif-

eiliaid daearol o radd uwch na rhai y dwfr, a chodant y naill goruwch y llall hyd at ddyn. Y mae yr anifeiliaid yn neshau at bwngc dynoliaeth mewn cyfartaliad i'w buddioldeb a'u hynawsder. Gall dyn ladd pob anifail er mwyn cynnal neu amddiffyn ei fywyd ei hun.

Cyn creu dyn, nid oedd ond goleuni nosawl dros yr holl ddaear. Crewyd dyn gyda chodiad cyntaf haul.

Nid yw angau, neu ddadansoddiad y corph presenol, ond dechreu bywyd neu hanfodiad newydd. Y mae yr enaid yn myned trwy rifedi dirfawr o'r trawsfudiadau hyn nes cyrhaedd o hono at y Duwdod.

Nid all bod meidrol dreiglo neu oddef tragywyddoldeb yn ddigyfnewid. Y mae tragywyddoldeb yr enaid yn olyniad o gyflyrau, newydd o ran syniadau, a'r enaid ymhob un yn amlygu galluoedd newydd i fwynhau pleser a hyfrydwch.

Yn y greadigaeth nid oes un drwg nad yw yn fwy o ddaioni nag o ddrwg. Y mae y pethau a elwir yn wobrau a chosbedigaethau yn cael eu dyogelu trwy drefniadau tragywyddol, fel mai nid canlyniadau eithr priodoliaethau ein gweithredoedd a'n harferion ydynt. Oddigerth am drosedd yn erbyn cymdeithas, dylai maintioli y gospedigaeth fod yr hyn a weinydda natur ei hun ar y troseddwr. Y mae gan edifeirwch perffaith hawl i faddeuant. Yr edifeirwch hwnw sydd berffaith, yr hwn a wna bob iawn o fewn ei allu am ryw gam a weinyddwyd, ac a ymostwng yn wirfoddol i'r gospedigaeth a gyhoeddir arno. Y mae iawn yr edifeiriolwyr hynny a ymostyngant o'u gwirfodd i angau er symmud ymaith eu heuogrwydd, yn berffaith. Y mae eneidiau pawb o'r cyfryw yn myned i gylch y gwynfyd.

Nid ellir boddloni cyfiawnder Duw ond trwy aberthu bywyd am fywyd."

Mae geiriau Caisar yn dra nodedig, yn egluro yr athrawiaeth o Iawn dirprwyol gyda manylrwydd duwinyddol.—"Mae y Derwyddon yn dal nad yw yn bosibl dyfod i gymod â dwyfol gyfiawnder y duwiau anfarwol drwy un ffordd arall ond drwy roddi bywyd dyn yn bridwerth dros fywyd dyn."—*Cesars Commentaries*, Llyfr III.

Dyna yw ychydig o'r prif athrawiaethau perthynol i grefydd a fu unwaith yn cael ei harddel o lànau y Baltic hyd gulfôr Gibraltar. Yn Ffraingc, yr oedd ei hathrofa ganolbarthol yn Dreux. Ym Mhrydain, yr oedd ganddi mewn rhifedi un-ar-hugain o brif eisteddleoedd addysg—yr oedd pob eisteddle addysgol yn gyfiaith, neu ddinas, prif dref y llwyth neu y giwdawd. Eu henwau oeddynt fel y canlyn.

**Eisteddleoedd addysg tri Arch-dderwydd Prydain.**

| | |
|---|---|
| Caer Droia, Caer Ludd | London. |
| Caer Efrog | York. |
| Caer Lleon | Caerleon. |

**Eisteddleoedd addysg Prif Dderwyddion Prydain.**

| | | | |
|---|---|---|---|
| Caer Gaint | Canterbury | Caer Meifod | Meifod |
| Caer Wynt | Winchester | Caer Odor | Bristol |
| Caer Municip | St. Albans | Caer Llyr | Leicester |
| Caer Sallwg | Old Sarum (Salisbury) | Caer Wrnach | Utoxeter |
| | | Caer Lleyn | Lincoln |

| | | | |
|---|---|---|---|
| Caer Leil | Carlisle | Caer Loyw | Glocester |
| Caer Grawnt | Cambridge (Granta) | Caer Gei | Chichester |
| | | Caer Ceri | Cirencester |
| Caer Meini | Manchester | Caer Dwr | Dorchester |
| Caer Gwrthegion | Palmcaster | Caer Merddin | Caermarthen |
| Caer Coel | Colchester | Caer Seiont | Caernarvon (Segontium) |
| Caer Gorangon | Worcester | | |
| Caerlleon ar Dwy | Chester | Caer Wysc | Exeter |
| Caer Peris | Porchester | Caer Segont | Silchester |
| Caer Don | Doncaster | Caer Baddon | Bath |
| Caer Guoric | Warwick | | |

Ni effeithiodd amdreigliad dwy fil o flynyddoedd ond ychydig gyfnewidiad ar enwau cyntefig y dinasoedd hyn.

Yr oedd nifer yr efrydwyr yn yr athrofäau hyn weithiau yn 60,000 o eneidiau, ym mhlith pa rai y cynnwysid pendefigion Prydain a Gâl. Yr oedd awdurdod a breintiau yr Urdd Dderwyddol yn fawr iawn. Eisteddent fel ynadon, i benderfynu pob pwngc parth cyfraith neu gyfiawnder. Rheolent a llywyddent holl seremonïau a defodau crefydd. Yr oedd yr awdurdod o ysgymuno, a ymddiredwyd iddynt, yn taflu y neb a ysgymunid allan o nawdd y gyfraith. Yr oeddynt yn rhyddion oddiwrth ddyledswyddau milwrol, trethi, a thollau. Neillduid y ddegfed ran o'r tir tuag at eu cynaliaeth. Ni allai neb ond Derwydd offrymu aberth; ac nid oedd un ymgeisydd yn dderbyniol i'r urdd os nad allai brofi ei fod yn deilliaw o rieni rhyddion hyd y nawfed âch yn ol. Yr oedd cydsyniad pen cenedl, neu ddeuddeg o benau teuluoedd mewn cenedl, yn angenrheidiol cyn y gallai un ymgeisydd gael derbyniad cyhoeddus i'r urdd. Yr oedd yr arholiadau parotöawl gogyfer a derbyniad cyflawn i mewn i ddwy radd uchaf yr urdd, sef eiddo y Bardd a'r Derwydd, yn rhai o fanylrwydd mawr. Gallai Ofydd honni hawl i'w râdd drwy brofi, mewn arholiad cyhoeddus ger bron pen cenedl a deuddeg o Dderwyddon, ei fod yn feistr ar y gelfyddyd neu y wyddor neillduol a broffesai ei dysgu neu ei harferu. Ni addysgid neb yn athrawiaethau cyfrinachol yr urdd ond y rhai fyddent wedi cael derbyniad i mewn iddi—dyna yr achos o'r dystawrwydd mawr a gedwir gan Taliesin a Beirdd Bedydd eraill ar rai pyngc-iau neillduol a addysgent.

Anifail cysegredig eu crefydd ydoedd y tarw gwyn—yr aderyn cysegredig, y dryw bach—y pren cysegredig, y dderwen—*y planhigyn* cysegredig, yr uchelwydd—y llysiau

cysegredig, y meillion a'r ferfain—y ffurf gysegredig oedd y tair llythyren ddwyfol neu belydrau, ar lun croes, yn arwyddo agwedd driphlyg y Duwdod. Byddai y llysiau a'r planhigyn cysegredig, ynghyda phlanhigyn arall, sef yr isop—arwyddlun gwroldeb mewn adfyd, yn cael eu casglu ar y chweched dydd o oed y lleuad.

Mae gweddillion lluosog cofadeiliau y sefydliad Derwyddol yn cyrhaedd drwy Brydain, o Gernyw hyd Ynysoedd yr Hebrid. Yn Neheubarth Prydain, neu Loegr, y temlau canolbarthol oeddynt Gorau Efwr a Chaer Caradawg (*Stonehenge.*) Perth a'i chymydogaeth, yn yr Alban, a Môn, yng Nghymru, oeddynt y prif daleithiau lle y safai y cylchoedd gorseddol, ymha rai y cyflawnid seremonïau gorwych y genedl. Yr oedd pob un o'r temlau hyn yn ddarluniad o'r gyfundrefn blanedol. Mae yr egwyddorion yn ol pa rai yr adeiladwyd hwynt yn hollol astronomyddol; ac y mae y cywirdeb â pha un y trefnwyd y meini trymion ac y gosodwyd hwynt yn eu lle yn brawf o radd uchel o wybodaeth gelfyddol.

Ni oddefai egwyddorion y Derwyddon i un maen gael ei halogi gan gyffyrddiad dûr neu unrhyw fettel arall, ac ni ellid defnyddio yn amgen na cherig unigol mawrion, celyd drwyddynt, yn adeiladaeth eu temlau. Mae y gweddillion pen-saernïol hyn o eiddo yr hen grefydd Frutanaidd yn gorwedd ran amlaf ar gribau uchel ac yn anghyfanedd-leoedd mynyddig yr Ynys, yr hyn a ddengys fod cychwyniad eu hadeiladaeth wedi cymeryd lle yn yr amser hynafol hyny pan oedd yr iseldir mewn rhan fyth dan ddwfr. Adnabyddir yr adfeilion Japhethaidd hyn yn Groeg a'r Eidal fel adfeilion Cyclopaidd neu Ditanaidd. "Dygodd Derwyddon Prydain," medd y doethawr Stukeley, yn ei waith ar Gor Gawr, "eu hymchwiliadau ymlaen i'r fath uchderau ag a ddylai beri i bobl yr oesoedd hyn gywilyddio; a gallwn yn rhesymol benderfynu fod rhywbeth tra hynod yn yr egwyddorion hyny y rhai a'u cynhyrfodd i'r fath yspryd urddasol fel ag i gynnyrchu y gweithydd hyn;—gweithydd ag sydd o ran gorwychder a symledd, yn rhagori ar holl ryfeddodau Ewrop."

A llefaru yn fanwl, nis gellir galw unrhyw rai o'r Cylchoedd Derwyddol yn Demlau, canys dysgai y Derwyddon nad oedd gan y Duwdod ond dwy drigfan—sef yr enaid fel y deml anweledig, a'r bydysawd fel yr un weledig. Cysgod-

au o'r un ddiweddaf yn unig oedd y cylchoedd cerig. Perthynai i Dderwyddiaeth bedair o brif wyliau,—sef pedair Alban y flwyddyn, hyny yw, y dydd hwyaf, y dydd byraf, a dyddiau y cyhydedd, pan y byddai y dydd a'r nôs yr un hyd. Ar Alban Eilir, neu wyl y gwanwyn, dygid y bâl-tân i lawr o'r haul drwy offerynoliaeth llosg-wydr. Ni ystyrid un aelwyd yn yr ynys yn gysegredig nes yr ail gyneuid y tân arni o'r bâl-tân. Daeth y bâl-tân i fod yn ŵyl y Pasg Cristionogol—megis y daeth yr Alban Arthan, neu wyl canol y gauaf, pryd y torid yr uchelwydd â'r cryman aur o'r dderwen gysegredig, i fod yn wyl y Nadolig. Yr oedd yr uchelwydd gyda'i dri mân-aeron yn arwydd o'r Duwdod yn ei agwedd driphlyg—a'i dyfiant ar y dderwen yn arwyddo ymgnawdoliad y Duwdod mewn dyn.

Gelwid yr allor benagored yn y cylch Derwyddol yn Gromlech, neu yn faen addoliad, (yn llythyrenol, maen yr ymgrymu). Arni hi y gosodid yr aberth oedd i gael ei offrymu; ac fel y gallai y gwaed redeg ymaith yn hawddach, gosodid hi ar osgo. Mewn careg arall wedi ei chafnu gerllaw derbynid yr *aqua pura*, neu y dwfr sanctaidd—hyny yw, dwfr gwlaw yn uniongyrchol o'r nef. Yr oedd Derwyddiaeth ei hun yn adnabyddus yn gyffredin wrth yr enwad "Y Maen."

Yr oedd gwisg offeiriadol yr Arch-dderwydd yn dra gorwych. Ar ei ben y gwisgai dalaith aur,—ar ei wregys yr oedd gem dewindeb,—ar ei fynwes yr oedd yr *ior morain*, neu ddwyfroneg barnedigaeth, ac islaw iddi, y glan neidr, neu ŵy y ddraig,—am fys blaenaf y llaw ddeheu yr oedd sêl-fodrwy yr urdd,—ac am fys blaenaf y chwith yr oedd gemawg fodrwy ysprydoliad. Byddai y goelbren, neu y gyfrol a gynnwysai y cyfrinion, a'r fugeilffon euraidd â'r hon y cesglid yr uchelwydd yn cael eu dwyn o'i flaen. Yr oedd ei fantell o liain gwyn, yn meddu ymylon porphoraidd llydain—ac arwydd y groes wedi ei weithio mewn aur i lawr ar hyd y cefn.

Pan ymsuddodd Derwyddiaeth i Gristionogaeth, daeth y defodau, y gwyliau, a'r gwisgoedd offeiriadol hyn yn eiddo yr Eglwys Gristionogol. Nid oes ond ychydig o amrywiad rhwng seremoniau diweddar crefydd, fel y gwelir hwynt mewn rhyw eglwys gadeiriol Babaidd ag eiddo Prydain Dderwyddol ddwy fil o flynyddoedd yn ol. Nid yw y ffaith eu bod wedi deilliaw o Dderwyddiaeth un dim mwy amlwg

nag ydyw y gwahaniaeth nodedig a welir rhyngddynt hwy a defodau syml a diaddurn prif Gristionogaeth. Mae rhai o'r defodau hyn yn gyffredin i Iuddewiaeth a Derwyddiaeth yn unig.

Nid ellid cyflawni un gwasanaeth, na gweini un ddefod Dderwyddol, ond rhwng codiad yr haul a'i fachludiad. Yr oedd pob gweithred swyddogol i gael ei chyflawni "yn ngwyneb haul a llygad goleuni." Gelwid eisteddle y Derwydd llywyddol yn Orsedd; ac yr oedd ei symud ymaith yn drosedd angeuol. Cynnelid y Gorseddau, neu y prif gymanfaoedd ar y pedair Alban, a'r rhai lleiaf ar chwarteri y lloer.

Gwisg wybrlas a fyddai gan y Bardd, gwisg wen oedd eiddo y Derwydd ac un werdd a wisgid gan yr Ofydd. Drwy lafar y byddai y Derwyddon yn cyfranu addysg. Ni oddefid i un rhan o'u haddysg gael ei roddi mewn ysgrifen. Mewn goruchwylion cyhoeddus hwy a arferent y llythyrenau Barddonol; ond yn eu cyfathrachiadau gyd ag estroniaid, defnyddient y rhai Barddol neu Roegaidd, fel y byddai achos yn gofyn. Oddiwrth y pwys a roddent ar y wyddor oruchel o Astronomyddiaeth, gelwid hwy gan y Groegiaid yn Saronidæ, (Serenyddion, oddiwrth y gair Cymraeg *seren.*) Ymddengys fod eu cyfundraeth o addysg yn cymeryd i mewn gylch eang o'r gwyddorau a'r celfyddydau.

Yr oedd y grefydd Dderwyddol yn hynod o'r gwladgarol—o ganlyniad hi oedd yr unig grefydd Genedlig a lwyr gamddarlunid ac a nodid allan i'w diwreiddio gan y llywodraeth Rufeinig; pan oedd yr holl rai eraill yn ddiwahaniaeth yn cael eu derbyn dan ei nawdd. Cyfranodd yr yspryd a roddai yn y bobl, gymaint a'r wybodaeth filwrol a arddangoswyd gan lawer o gadlywyddion gwrol a galluog, er gwneuthur llwyddiant araf lluoedd arfog y Rhufeiniaid ym Mhrydain yn eithrad unigol i gyflymder eu goresgyniadau mewn rhanau eraill o'r byd.

Mae Diodorus Maximus yn cofnodi Triad Derwyddol ag oedd yn dra hysbys i'r Groegiaid, sef "Addolwch y duwiau —na wnewch ddrwg i un dyn—sefwch yn wrol dros eich gwlad."

Crybwylla Valerius Maximus am ffaith hynod, ag sydd yn egluro diffuantrwydd eu ffydd yn yr athrawiaethau a ddalient:—"Y mae gan y Derwyddon y fath grediniaeth gadarn am anfarwoldeb yr enaid, fel ag y rhoddant symiau

o arian ym mlaen llaw i'w cyfeillion ar y ddealldwriaeth fod y cyfryw arian, neu eu gwerth cyfartal, i gael ei dalu yn ol pan gyfarfyddant ar ol marw." (Lib II. c. 6.) Dywed Lucan, "mae yn sicr nad yw y cenedloedd Derwyddol yn ofni angau. Yn hytrach gyr eu crefydd hwynt i ymgeisio am dano. Mae eu heneidiau yn feistriaid arno, a thybiant ei fod yn beth dirmygus arbed bywyd ag sydd mor sicr o gael ei adferyd."

Y grefydd Dderwyddol, yn ei ffurf lygredig Asiaidd neu Semaidd o Fuddism, yw crefydd agos i hanner dynolryw eto. Gan hyny yr ydym wedi sylwi ar ei phrif nodweddion yn helaethach nag y buasai cylch y gyfrol fechan hon yn ein gwarantu i wneuthur ag un ffydd drangcedig neu anarferedig, megys cuddchwedlau Groeg a Rhufain.

---

## Y CYFNOD RHUFEINIG.

Mae Caisar, er mwyn cyfiawnhau ei ymgyrch yn erbyn Prydain, yn haeru mai y Brutaniaid oeddynt yr ymosodwyr cyntaf. Cefnogir yr adroddiad hwn i ryw radd gan y "Trioedd cof a chadw." Cyn y rhyfelgyrchoedd yn Ngogledd Gâl, aeth yr "ail arianllu," a gofnodir yn yr ysgrifeniadau hyn, allan o Brydain dan arweiniad Gwenwynwyn a Gwanar, sef, neiaint Caswallon, ac yr oedd Caswallon yn bersonol yn cydfyned â hwynt. Glaniodd 61,000 o wyryn Brest, c.c. 57. Wrth ymdeithio tua'r Deheu, llwyddasant i allu ymuno â'r Aqwitaniaid. Yr oedd Fflûr, merch Mygnach Gor, yr hon oedd dan rwymiad priodasol i Caswallon, wedi cael ei dwyn ymaith drwy orthrech gan Morchan, yr hwn oedd yn rhaglyw yn Aquitania. Mae y Trioedd yn sicrhau mai Caisar ei hun ydoedd annogwr y weithred; ac y mae anfoesoldeb anystyriol ei ymarweddiad personol yn Gâl, megys ei darlunir gan Suetonius, yn rhoddi lle i gredu fod yr adroddiad yn wir. Gwnaed rhuthr ar gastell Morchan gan Caswallon, a dygwyd Fflur yn ddyogel i Gaerdroia. Cymerodd Lucius Valerius Præconinus, yr is-gadben Rhufeinig, y maes yn erbyn Caswallon, ond gorchfygwyd ef yn Tolosa, gyda cholled am chwe mil o wyr. Yna Lucius Manilius,

wrth geisio gwneuthur i fyny am y golled a gafodd ei ragflaenorydd, a gyfarfyddodd â thynged mwy gwarthus, a gorfu arno ffoi gyda cholled am ei holl gelfi a'i ystôrion. Pan glywodd Caisar am yr anffodion hyn, a chanfod yn ei holl frwydrau fod lluoedd Prydeinig yn y byddinoedd Gâlaidd wedi ymrestru yn ei erbyn, penderfynodd droi ei arfau yn erbyn Prydain ei hun. Venetiaid Llydaw, y rhai oeddynt y pryd hyny brif farsiandwyr Gâl, ac yn dwyn ym mlaen fasgnach lwyddianus â Phrydain, a ddarparasant fesurau yn ddioed er atal ei fynedfa. Cyhyd ag y byddai y llynges Venetiaidd yn feistres ar y cul-foroedd, ni allai un llynges filwrol, i'r hon y byddai yn elynol, fyned allan o borth laddoedd Gâl. Gan hyny, penderfynodd Caisar ynghyntaf peth ddistrywio y llynges hon. Mae ei ddarluniad ef o honi yn dangos fod y Venetiaid wedi cyrhaedd gradd uchel iawn o wybodaeth yn ngwneuthuriad llongau. Yr oedd y llongau wedi eu gwneuthur o dderw caled, i wrthsefyll ffyrnigrwydd tymhestloedd a thònau y Mor Werydd. Yr oedd meinciau y rhwyfwyr wedi eu gwrth-hoelio â phinau heiyrn, a phob un o honynt yn fodfedd o dryfesur. Sicrhae cadwynau heiyrn yr angorau trymion. Yn lle lliain, defnyddid lleni o ledr trwsiedig fel hwyliau. Ar ochrau y llongau hyn, cyrff pa rai a safent fel tyrau goruwch yr hwylbrenau Rhufeinig, ni allai durynau efyddaidd llynges Rhufain wneuthur un argraff; ac ni allai na saethau na pheirianau ysgubo eu byrddau. (Cesar, lib. III.) Pa le bynag y gwarchaeid ac y gwesgid yn galed ar unrhyw ddinas neu amddiffynfa ar yr arfordir, rhedai y llynges Venetiaidd i mewn ac arhwyliai y boblogaeth i ryw le arall. O'r diwedd cymerodd Caisar fantais ar dawelwch marwaidd y môr, yr hyn a ddirymai ei hysgogiad rhagorol, i wneuthur ymosodiad arni. Y Venetiaid, ar ol brwydr a barhaodd o'r boreu hyd yr hwyr, a ildiasant i ymosodiadau cywraint a gwroldeb y câd-lywydd Rhufeinig. Gwarthnodwyd y fuddugoliaeth hon gan weithred o'r creulondeb mwyaf echryslawn. Lladdwyd holl aelodau y senedd Venetiaidd, a gwerthwyd pob carcharor a gymerwyd i gaethiwed. Cyrhaeddodd y newydd yn fuan i Brydain, ac adseiniodd yr holl ynys gan y melldithion a ddymunid ar y dyhiryn. Dychwelodd Caswallon yn ddioed o Aqitaine i Brydain, gan adael y fyddin Gymraeg, dan ddwylaw ei neiaint, mewn meddiant parhaol o'r wlad sydd rhwng y Loire Isaf a'r Gi-

ronde—rhandir ag sydd mor llawn o weddillion Derwyddol ag yw Cymru neu Lydaw. Yna Caisar, gan ymdeithio yn araf ar hyd yr arfordir, a ddaeth i Portus Iccius, yn agos i Calais.

"Cyn Caisar," megis y sylwa yr awdwyr clasurol, "ni anturiodd un buddugoliaethwr tramor wneuthur ymosodiad ar lànau Prydain." Gan hyny, gall na byddai rhoddi ychydig hanes am y dyn rhyfedd hwn ddim allan o le yn y braslun hyn o Hanesiaeth Prydain.

Ganed Iwl Caisar, mab Caius Iwl, c.c. 108 o flynyddoedd. Collodd ei dad pan yn yr 16eg mlwydd o'i oedran; yn ei 17eg mlwydd, pennodwyd ef yn Flamen Dialis, neu yn offeiriad Iau—y swyddogaeth eglwysig uchaf yn Rhufain. Yn ei 18ed mlwydd efe a briododd Iwlia, merch Cinna, un o brif arweinwyr y Weriniaeth Rufeinig yn erbyn y Bendefigaeth. O honi y ganed merch, yr hon a elwid Iwlia. Priodwyd Iwlia, modryb Caisar, gyda Caius Marius, blaenor milwrol y weriniaeth. Yn ei araeth a draddododd efe yn ei chladdedigaeth, sonia Caisar fel hyn am ei darddiad teuluol:—

"Deilliodd fy modryb Iwlia, o ochr ei mam, o lîn breninol; ac o ochr ei thad, o'r duwiau anfarwol. Canys y mae y breninoedd Marsianaidd, teulu ei mam, yn tynu eu hâchau o Ancus Martius a'r Iwliaid, a theulu ei thad, o Gwener —ac o'r cyff hwnw yr ydym ni yn gangen. Gan hyny, yr ydym yn uno yn ein disgyniad fawrhydi cysegredig breninoedd, y penaf ymhlith dynion, gyd â mawrhydi dwyfol y duwiau, i ba rai y mae breninoedd eu hunain yn ddarostyngedig."

Sylla, yr hwn oedd flaenor y bendefigaeth, a fynai gan Caisar ysgaru Iwlia; a chan iddo ommedd gwneuthur hyny efe a'i hymddifadodd o'i swydd, ac a attafaelodd ar ei etifeddiaethau ef a'i wraig. Bu yn crwydro am lawer o fisoedd mewn perygl a thlodi dirfawr yn niogelfcydd mynyddoedd yr Apenniniaid. Ond cefnogwyr mwyaf dylanwadol Sylla a eiriolasant yn daer gydag ef ar ran Caisar. Efe a gydsyniodd, ond yn dra anewyllysgar, i'w alw ef yn ol, gan ddefnyddio y geiriau prophwydol hyn;—"Cymerwch ef atoch—ond gwybyddwch fod yn y gwr ieuanc hwn lawer o Fariaid—bydd ef yn ddistryw i bendefigaeth Rhufain." Cydnabyddwydd ef yn fuan fel arweinydd y bobl. Rhaid chwilio am helynt ei fywyd nes y cafodd ei bennodi yn gad-

lywydd ar y llengau yn Gâl yn hanesiaeth Rhufain. Hanes ei ryfelgyrchoedd yn Gâl, yr hwn a drosglwyddwyd i lawr i ni wedi ei ysgrifenu ganddo ef ei hun, yw yr adroddiad mwyaf echryslawn efallai o laddfëydd mewn gwaed oer ag a gyfansoddwyd erioed gan un dyn o feddwl mawreddog. Y mae yn anhawdd dangos un teimlad urddasol ynddo, neu wreichionen o gydymdeimlad haelfrydig tuag at y gwroniaid, y gwladgarwyr, neu y gwrthwynebwyr, ag oeddynt yn ymladd yn ei erbyn er amddiffyn gwlad eu genedigaeth. Ar y llaw arall, nis gellir braidd gyfrif y cyfanswm o waed dynol a dywalltwyd ganddo ef; mae yn debygol fod y cyfrifiad o bum miliwn o fywydau a ddistrywiwyd yn ei amrywiol ryfeloedd yn Gâl, Prydain, yr Eidal, yr Hispaen, Affrig, Groeg, ac Asia, islaw y gwirionedd. Anrheithiwyd wyth cant o drefydd ganddo ef yn Gâl yn unig,—a hyny yn amlach, fel y dywed ei fuch-draethydd, er mwyn yr anrhaith nac oherwydd unrhyw ddrwg a wnaethent. Yn rhai o honynt —Avaricum, er engraifft, ni adawyd un dyn yn fyw. Ar ol y rhyfelgyrchoedd ym Mhrydain, cododd yr Eburoniaid, tylwyth Teutonaidd-Cymroaidd, dan Ambiorix, eu brenin ieuanc, gorchfygasant a drylliasant lengoedd Cotta a Sabinus. Yna Caisar, yn lle ymddwyn yn ol deddf cenedloedd, a'u cyhoeddodd hwy yn rhai allan o nawdd cyfraith, ac a gyfunodd y tylwythau Celtaidd, mewn cyngrhair â Rhufain, yn eu herbyn, ac a orchymynodd, ar i bob Eburon, lle bynag y ceid ef, gael ei roddi i farwolaeth heb drugaredd. Y tylwyth gwrol, gan ymladd hyd y diwedd, a lwyr ddifethwyd fel nad oedd un dyn o honynt yn fyw; ac ymdaenodd coedwigfa Ardennes yn raddol dros y dalaeth a addurnid unwaith gan eu maesdrefi poblogaidd. Mae y caledrwydd hollol yma yn erbyn egwyddorion cyntaf dynoliaeth yn ffurfio y prif nodwedd yng nghymeriad Caisar, ac yn wir yng nghymeriad llawer o fuddugoliaethwyr eraill. Eto, er mor greulon yr amlygwyd hyn ar raddfa fawr, nid oes gywilydd gan ysgrifenwyr y llŷs Lladinaidd yn amser ei olynwyr, briodoli iddo ef y rhinwedd o dynerwch, oherwydd iddo arbed bywydau ychydig nifer o'i gydwladwyr ei hun ag oeddynt yn wrthwynebol i'w olygiadau ef yn Rhufain.

Ym mawredd ei ryfeloedd—mewn athroniaeth filwrol, craffder deall, ffrwythlondeb dyfais, a gweithrediad cyflym a thrwyadl, nid oes ond pedwar o gadlywyddion y gellir eu hystyried fel yn gyfartal ag ef—sef Alexander, Hannibal,

Cystenyn Fawr, a Napoleon. Yr oedd ym meddu y medrusrwydd mwyaf i ennill serch ei filwyr. Ar ol buddugoliaeth, byddai yn caniatau iddynt seibiant o ryddid diderfyn. Yn ei areithiau byddai bob amser yn eu hannerch fel ei "gydfilwyr." Cymerai ofal ar fod eu harfau a'u gwisgoedd yn orwych gystal ag yn rhai effeithiol. Yr oedd ei serch tuag atynt mor gryf, neu efe a ffugiai hyny, fel, pan glywodd fod un o'u gâd-lywyddion, sef Titurius, wedi cael ei orchfygu, nad eilliodd mo'i farf, ac na thorodd mo'i wallt, nes dial o hono ar y gelyn. Ni ddarfu neb o'i filwyr erioed encilio oddiwrtho yn ei ryfeloedd gwladol na thramor. Llawer o'r rhai a gymerasid yn garcharorion a wrthodasant y cynnygiad o gael eu bywydau ar yr amod o ymladd yn ei erbyn. Pan ar wasanaeth weithredol, yr oedd y ddisgyblaeth a gadwai yn un lem i'r eithaf. Yr oedd wedi dwyn i fyny ei lengoedd i'r fath radd o oddefgarwch, fel y sylwai Pompey, pan oeddynt yn gwarchae arno, ac yn gwybod nad oedd ganddynt ddim i gynnal eu hunain ond bara wedi ei wneuthur o lysiau, "fod ganddo i ymwneyd ag anifeiliaid gwylltion, nid dynion." Darfu i fintai, neu y ddegfed ran o'r nawfed lleng, ar un tro lwyddo i gadw amddiffynfa, yn erbyn pedair o lengoedd Pompey. Yr oedd pob dyn wedi cael ei archolli, ac wedi hyny cyfrifwyd o fewn yr amgaerau 138,000 o saethau, ag oeddynt wedi cael eu gollwng yn eu herbyn. Yn y defnyddiad o arfau, yr oedd Caisar ei hun yn berffaith. Ni effeithiai un gradd o lafur ar ei gyfansoddiad haiarnaidd. Byddai yn codi gyda'r haul. A phan ar ymdaith, cymerai ei safle o flaen ei hoff leng, sef, y 10ed,—weithiau ar ei draed, ond yn fwy cyffredinol ar farch, ac yn ben-noeth ar bob math o dywydd. Byddai yn trafaelio yn aml gant o filldiroedd yn y dydd, mewn cerbyd ysgafn heb unrhyw glud-gelfi. Os dygwyddai yr afonydd fod wedi codi yn gefnllifoedd, efe a nofiai, neu cymerai ei gludo ar grwyn wedi eu llenwi â gwynt, i lawr gyda'r ffrŵd nes myned drosodd i'r ochr arall; ac fel hyn cyhoeddai ei ddyfodiad ei hun ar faes y frwydr. Yr oedd ei ëondra a'i ymbwyll yr un mor amlwg. Gwnai ymosodiad ar y gelyn yn union ar ddiwedd ymdaith hir, neu yng nghanol y dymestl ffyrnicaf. Mae y cloddiau pridd, y gwersylloedd, a'r caerau a godwyd gan ei fyddin, yn dal i gynhyrfu syndod ac eiddigedd celfyddwyr diweddar eto. Os bygythiai brwydr droi allan yn aflwyddianus, anfonai ymaith yr holl

feirch, a'i farch ei hun yn gyntaf. Os gwelai ei wyr yn encilio o flaen y gelyn mewn rhyw fan, ymosodai yn bersonol gyda'i warchodlu yn y lle hwnw. Ar un o'r achlysuron hyn wrth iddo atal i fanerwr ffoi, gadawyd y faner yn ei law. Efe a gollodd ddau gleddyf wrth ymladd dau fywyd, un i Nynniaw, brawd Caswallon, ym mrwydr Caer Gaint; a'r llall yn ngwarchaeadigaeth Gergovia, yn Auvergne. Pan ddangoswyd iddo yr olaf, ym mhen blynyddoedd ar ol hyny, gan bobl y dref, gorchymynodd yn sarrug ar iddynt ei gymeryd allan o'i olwg ef. Cedwid y cyntaf yn y Bryn Gwyn, nes iddo gael ei symud gan Gystenyn i Gonstantinopl.

Dylid derbyn Arnodiadau Caisar, y rhai a gynnwysant hanes ei ryfelgyrchoedd yng Ngâl a Phrydain, fel adroddiadau gelyn—yn debyg iawn fel y darllenem adroddiadau Napoleon mewn perthynas i'r rhyfel Orynysol, neu eiddo y llywodraeth Rwssiaidd o barth brwydrau y Crimea. Caniateir gan ei blaid ei hun eu bod wedi eu cyfansoddi heb dalu ond ychydig ystyriaeth i ffeithiau; ond fel y maent yn rhoddi i ni y golygiadau tramor cyntaf am ein hynys, er yr hygoeledd a amlygant, a'r lletliad difrifol ar y gwirionedd a geir ynddynt, eto, y maent yn gyfraniadau tra gwerthfawr at ein gwybodaeth o Hen Ewrop.

Nid yw Caisar yn enwi nifer y llongau rhyfel a ddefnyddiwyd yn ei ymgyrch cyntaf. Yr oedd y trosglwydd-longau i gludo y gwyr traed o ddeutu pedwar-ugain; ac eiddo y gwyr meirch yn ddeunaw. Yr oedd y fyddin yn gynnwysedig o ddwy leng, yn rhifo gyda eu cynnorthwywyr, rhwng pedwar-ar-hugain a deg-ar-hugain o filoedd. Mae yn eglur fod y cadlywydd Rhufeinig gwedi isbrisio yn ddirfawr faint y gallu Prydeinig, a medr y brenin gan yr hwn ei llywid; ac nid yw ef yn egluro ychwaith pa fodd y gellir cysoni ei adroddion fod adgyfnerthoedd lluosog o Frydain yn y byddinoedd Gâlaidd, a bod holl bendefigion ieuainc Gâl wedi cael eu haddysgu yn ngholegau Derwyddol Prydain, gyd ag adroddiad arall o'i eiddo, sef fod ei holl ymdrechiadau mewn cymanfa gyffredinol o drafnidwyr Gâl, wedi methu a chael unrhyw hyspysiaeth o barth cyfansoddiad, cyfreithiau, ac adnoddau milwrol yr Ynys. Diau nad oedd y cyfryw anwybodaeth ond ffugiaeth, a bod y wybodaeth a feddianid gan filoedd ar y penau hyn, yn cael ei chadw oddiwrtho yn fwriadol dan *gyfrinach* ofnadwy y Derwyddon. Cafodd

Comius o Arras, yr hwn a anfonwyd ganddo fel brys-genad i Brydain, ei gymeryd i fyny a'i daflu i garchar. Dychwelodd Caius Volusenus yr hwn a anfonwyd i archwilio yr arfordir ar y pumed dydd, gydag hysbysiad fod yr holl oror gyferbyn a Gâl ym meddiant lluoedd Prydeinig. Dygwyd atebiad Pendragon Prydain i'r gofynion Rhufeinig at Caisar gan Comius o Arras, yr hwn a ryddhawyd ac i'r hwn y darparwyd llong i'r dyben hyny. Yr oedd yr atebiad fel y canlyn,—

"Caswallon, brenhin y Brutaniaid, yn anfon annerch at Wl Caisar, ynghyd â'r ymadrodd hwn.

Ynrhyfedd yw, Wl Caisar, maint chwant a chybyddiaeth gwyr Rhufain, canys rhag maint syched arnaddunt aur ac arian, na allant ddioddef ein bod ni megis oddieithr y byd, yn dioddef peryglau yr eigion heb can ryfygu cymhell swllt y trethau arnom, o'r lle y cynnaliasom ni erioed yn rhydd didreth heddwch hyd yn hyn Ac nid digon ganddynt namyn ceisiaw gwared ein rhyddid, a mynnu gosod tragwyddol gaethiwed. Cywilydd itti, Wl Caisar, ydd wyt yn geisiaw; canys cyffredin gwythen bonedd y sydd i'r Brutaniaid ac i'r Rhufeinwyr, yn llithraw y gan Eneas ar un rhyw gadwyn rhag egluro cadarn gydymdeithas a ddylai rhyngddynt, honno a ddylynt ei cheisiaw a'i erchi inni, nid cymhell arnom. Canys y rhyddid honno a orddyfuasom ni ac a ddygasom ni ei rhoddi a'i chynnal yn hwy nag arwain gwedd caethiwed yn y faint honno y gorddyfuasom ni ei chaffael a'i meddu, hyd na wyddom ar ufuddhau i gaethiwed a honno, hager pe'i ceisient y duwiau ei dwyn gennym. Ni a lafuriem yn y faint y gallem â'n holl nerth o'i hattal yn eu herbyn. Ac wrth hyny, Wl Caisar, bydd adnabyddedig i'th ddosparth di ein bod ni yn barod i ymladd i'th dderbyn, o cheisi ddyfod i'r Ynys hon, megis yd wyt yn gogwyddo dyfod iddi."

Ar y 5ed o Awst, c.c. 55, croesodd y llynges Rufeinig y môr Udd yn ddwy adran. Y tir cyntaf y daethant i'w olwg oedd clogwyni Dover. Yr oedd y rhai hyn yn ymwrychu gan fyddinoedd ac arfau rhyfelgar y Penrheolwr Brutanaidd. Wedi ei ddychrynu gan yr olwg arnynt, a chan natur anffafriol y lle, angorodd Caisar dros bump awr. Yn ystod yr amser hwn, galwodd ynghyd gynghor rhyfel ar fwrdd ei long ei hun, a rhoddodd ei gyfarwyddiadau i'w isgadbeniaid gan ddangos allan yr angenrheidrwydd am yr ufudd-dod parotaf wrth gyflawni ei orchymynion. Mae ffrwd culfôr Dover yn rhedeg mewn cyfeiriad Gogledd-ddwyreiniol. Gan weled fod hyny yn fanteisiol, efe a hwyliodd i lawr gyda hi am saith milldir, a dechreuodd ymbarotoi i fynu glánio ar y traeth agored rhwng castell Walmer a Sandwich.

Yn y cyfamser dylynasai Caswallon symudiadau y llynges gyda'i gerbydau a'i draedfilwyr ysgeifn ar hyd y tir. Yr oedd tunelliaeth mawr rhai o longau Caisar yn eu gosod dan

orfodaeth i ymgadw mewn dyfnder dwfr gryn bellder oddiwrth y làn. Ni allai ond y llongau ysgeifn yn unig ddyfod yn agos i'r traeth. I'r rhai hyn y trosglwyddwyd y milwyr yn adranau, ac yna ymffurfiwyd hwynt i'w priodól gadrestrau. Yr oedd yn bwngc o anrhydedd gyda'r hên Frutaniaid gyfarfod gelyn gormesol yn y dwfr—yn "y man lle torai y nawfed dón." Mae llawer o feddau eu gwroniaid o herwydd y rheswm yma wedi eu codi yn ymyl pwynt uchaf rhediad y llanw. Ar yr achlysur hwn aeth y traed-filwyr Brutanaidd ym mlaen i'r môr i gyfarfod y llengau. Tu ol iddynt yr oedd y llu cerbydol wedi eu trefnu, gan ymddangos yn fyddin-res anhydraidd. Cymerodd Caswallon ei safle yn y canol. Pan oedd y llengau Rhufeinig yn ceisio ymffurfio, rhuthrwyd arnynt a gyrwyd hwynt yn ol at y llongau. Yna dygodd Caisar ochr-ergydion ei longau rhyfel i ymosod ar y rhengau Brutanaidd, gan wneuthur iddynt encilio o gymydogaeth uniongyrchol y trosglwyddlongau drwy offerynoliaeth ei beirianau. Er hyny wedi cael eu brawychu gan newydd-deb y gyfundrefn rhyfel y gelwid arnynt i'w gwynebu, yr oedd yr hen filwyr profedig a oresgynasant y Cyfandir yn petruso gwneuthur eu dyledswydd. Ychwanegodd sŵn taranllyd y cerbydau, a banllefau beiddiol y traedfilwyr Brutanaidd yn bwysig at y dyryswch. Un gwr a ataliodd y gorchfygiad oedd ar eu gwarthaf. Gwnaeth banerwr y 10ed lleng yr apeliad diweddaf a ellid ei wneud at anrhydedd Rhufeinig. Dan chwyfio y faner yng ngólwg yr holl lynges, efe a neidiodd oddiar fwrdd y llong i blith y tônau, gan lefain—"Bydded i'r hwn na fyno fradychu yr Eryr Rhufeinig, fy nilyn I!" Yr oedd yr effaith yn wefryddol, canys yr oedd colli Eryr unrhyw leng yn cael ei ystyried fel y radd eithaf o waradwydd. Yna y llengolion gan ddisgyn i'r dwfr o bob llong ar ol eu blaenorydd, a ymffurfiasant eilwaith dan amddiffyniad cawod o daflergydion a ollyngwyd o'r llongau rhyfel, ac aethant ym mlaen yn erbyn y colofnau Brutanaidd.

Y pryd hyn dechreuodd yr ymladdfa mewn gwirionedd. Yr oedd hiliogaeth Brân, y rhai a gymerasant Rhufain gynt drwy ruthrgyrch, yn awr yn eu tro hwythau yn gorfod amddiffyn eu tir yn erbyn eu brodyr o'r Eidal. Mae un dygwyddiad, a gofnodwyd gan Blutarch, yn dangos gerwindeb yr ymladdfa: rhyw filwr o'r enw Publius, wrth weled ei gadfridogion yn amddiffyn eu hunain yn orwyllt yn erbyn

weled yn bersonol â'i gyfaill ymherodrol a'i letywr yn ei ieuengtyd. Y canlyniad fu buddugoliaeth negeswriaeth Prydeinaidd—yr hyn oedd fath o lwyddiant a ddygwyddai lawer anamlach ym mhob cyfnod o'n hanesiaeth na llwyddiant arfau Prydain. Nid yn unig rhoddwyd i fyny yr hawl o nawdd-amddiffyniad dros y Coraniaid, ynghyda'r hawl-ofyniad am deyrnged oddiwrth y tylwyth cyfoethog hwn, ond darostyngwyd y tollau trymion a osodid yn flaenorol ar ddygiad i mewn nwyddau Prydain i'r Cyfandir i drafn-doll ysgafn (Strabo Lib. iv. c. 5). Adferwyd hefyd berthynasau cyfeillgarol. Pendefigion Prydain a gymerasant i fyny drachefn eu trigfa yn Rhufain, gwelid hwy yn cyf lwyno eu rhoddion wrth greirfäoedd y brif-ddinas. Yr oedd yr ymffrost o weled y "Prydeinwr anorchfygedig" yn myned i lawr y *Sacra Via* mewn cadwynau, (Hor. Lib. III.) wedi ei ohirio dros genedlaeth yn hwy.

Olynwyd Cynfelyn ar yr orsedd, wedi iddo deyrnasu yn rhagorwych am bymtheg-ar-hugain o flynyddoedd, gan ei fab hynaf Gwydyr; a chafodd ei fab ieuengaf, Gweirydd, dduciaeth Cernyw. Ar yr un pryd Caradog, mab Brân, mab Llŷr, brawd Cynfelyn, o herwydd rhoddi o'i dad y llywodraeth i fyny, a ddaeth yn dywysog ar Gymru. Yr oedd ei drigfa ar y fan lle saif Castell presenol Dindryfan, yng nghanol ei etifeddiaethau o du ei fam yn Esyllwg. Cymerodd genedigaeth sanctaidd ein Harglwydd a'n Gwaredwr bendigedig le yn Bethlehem yn y 13eg mlwydd o deyrnasiad Cynfelyn—a'r croeshoeliad yn yr 11eg o deyrnasiad Gwydyr, ac yn yr 17eg o eiddo Tiberius Caisar, yr hwn a ddylynodd Awst i'r orsedd yn y 14eg mlwydd o oed Crist. Teyrnasodd Tiberius am dair blynedd a'r hugain. Yn y 19eg mlwydd o'i deyrnasiad ef y dygwyddodd yr erledigaeth gyntaf ar Eglwys Crist, gan Saul o Tarsus—gwr ieuangc yn yr hwn yr oedd cydgysylltiad o gymhwysderau annghyffredin yn ei nodi allan i'r Sanhedrim Iuddewig fel pen campwr eu hachos yn erbyn crefydd y Croeshoeledig. Yr oedd yn cael ei dwyn ym mlaen gyda ffyrnigrwydd mawr, ac am ryw ysbaid gwasgarwyd yr holl eglwys yn hollol—oddieithr yr Apostolion yn unig, o'r fam-ddinas, sef, Jerusalem. Yr oedd lledaeniad mawr ar yr Efengyl wedi cymeryd lle ar ol dydd y Pentecost—"gwyr bucheddol o bob cenedl dan y nef" yn dwyn hysbysrwydd o ddysgyniad gwyrthiol yr Yspryd Glân, ac o bregethiad y ffydd newydd,

yr hon oedd yn adnabyddus y pryd hyny yn unig megis "y ffordd—ffordd Duw," i'w gwledydd gwahanredol. Darfu yr erledigaeth hon o eiddo Saul, drwy wasgaru Cristionogion Judea, achosi ail ledaeniad mawr ar yr Efengyl. Ym mhlith eraill a yrwyd fel hyn i wledydd tramor yr oedd Joseph o Arimathea. Efe, ynghyda Mair Magdalen, a Lazarus, yn erbyn yr hwn y coleddai yr Iuddewon ddigasedd anniffodd-adwy, Mair, a Martha, chwiorydd Lazarus, ynghyda'u llaw-forwynig Mersilla, a gludwyd allan i'r môr ac a drosglwydd-wyd, mewn llestr heb na rhwyf na hwyl, i drugaredd yr elfenau. Ar ol dyoddefiadau ofnadwy cawsant eu taflu i'r lân yn agos i Massilia (Marseilles,) yn neheubarth Ffraingc. Cafodd Joseph fodd i ddal cymundeb o'r ddinas hon â'i deulu a'i gyfeillion ym Mhalestina. Ymunodd deugain o honynt ag ef, unarddeg o ba rai oeddynt ei berthynasau ef ei hun; a daeth Philip yr apostol gyda hwynt. Ar ol bod yn pregethu yr Efengyl am ddeuddeng mis yn Gâl, gwahoddwyd Joseph a'i frawdoliaeth gan ryw Dderwyddon Brutanaidd enwog ag oeddynt wedi bod ym mhlith ei wrandawyr, i ddyfod i Brydain. Cawsant dderbyniad croesawus gan Gweirydd, a gosodwyd hwy dan nawdd un o dri Chôr Derwyddol y deyrnas, yn Ynys Afallon. Yma y gosodwyd i lawr sylfaen yr Eglwys Gristionogol gyntaf ag sydd ar gôf, yn driugain troedfedd mewn hŷd, ac yn chwech-ar-hugain mewn llêd, yn cael ei hadeiladu yn ol yr arddull Gâlaidd o golofnau coed, wedi eu cysylltu gan resau dyblyg o blethwaith crŷf o wiail. Daeth yr eglwys hon yn ganolfa llawer o adeiladau ardderchog a godwyd goruwch ei nen iselaidd. Gelwid hi am rai cenedlaethau wrth yr enwad hwnw yn unig, sef "trigfa Duw—tŷ Dduw—dirgelfa Duw." Wedi hyny adnabyddid hi wrth yr enwad "mam yr Eglwysi—gogoniant Prydain—gorphwysle yr Apostolion." Cafodd yr ynys ar ba un yr adeiladwyd hi naill ai oddiwrth loywder y ffynnonau ag oeddynt mor lluosog ynddi neu o herwydd y dywedid fod Joseph wedi dwyn gydag ef y llestr grisialaidd yn yr hwn y derbyniodd Sant Ioan ag ef ei hun y dwfr a'r gwaed a lifodd ar y groes o galon ein Hialchawdwr Bendigedig mewn canlyniad i drywaniad gwaywffon hir y Canwriad,—ei galw yn Ynys Wydrin, yr hyn a gyfieithwyd gan y Saeson mewn amserau dylynol yn Glaston, a Glastonbury. Da genym allu ychwanegu fod rhwysg hon, mam-eglwys Prydain, fel eg-

lwys, coleg, a monachlog, yn hynaf, ac hefyd yn fwyaf buddiol o'r holl rai a berthynent i sefydliadau eglwysig mawrion y byd Cristionogol. Cafodd ei hetifeddiaethau, a ddelid mewn ymddiriedolaeth ac a ddefnyddid bob amser er cynnaliad a rhoddiad gwaith i dylodion ac er cefnogiad addysg, eu hatafaelu yn amser Harri VIII, yng nghanol gofid a digofaint cyffredinol y deyrnas. Maent yn awr yn cynyrchu cyllid ag sydd dros ben £300,000 yn y flwyddyn. Yr oedd cymeriad mwynaidd ac anymwthiawl y "Decurio uchelwaed" megis y gelwir Joseph yn y cof-lyfrau Brutanaidd, yn gymhwys hynod drwy ennill parch Gweirydd a phoblogaeth ryfelgar ei diriogaethau Gorllewinol, i ddarparu y ffordd er lledaeniad dyfodol Cristionogaeth yn yr ynys. Ym mhlith ei ddychweledigion yr oedd Gwladys, chwaer Gweirydd a Gwydyr, yr hon wedi hyny dan ei chyfenwad Rhufeinig, sef, Pomponia Græcina, a briododd Aulus Plautius, y cadweinydd Rhufeinig, ac Eigra hefyd chwaer Caradoc a gwraig Sallwg, arglwydd Caer Sallwg, yr hon oedd y santes gyntaf ym Mhrydain. Ym mhlith cennadon yr efengyl a addysgwyd ac a anfonwyd allan gan Joseph yn Afallon, yr ydoedd St. Beatus (Gwynfyd), a St. Mansuetus (Mwyngu.) Aeth Beatus, yr hwn a aned o rieni pendefigaidd ym Mhrydain, drosodd ar y Cyfandir ac a sylfaenodd yr eglwys Helvetiaidd. Dechreuodd ar ei gennadaeth drwy ddefnyddio ei holl eiddo er rhyddhâd rhyfel-garcharorion Helvetia. Efe a sefydlodd ei drigfa yn Underseven, yn agos i lŷn Thun, lle y mae ei eglwys a'i gell yn aros fyth yn wrthrychau o barch mawr. Bu farw yn y flwyddyn o oed Crist 96.

Bu Mansuetus, yr hwn a aned yn yr Iwerddon, ac a ddychwelwyd i'r ffydd ym Mhrydain, yn pregethu yr efengyl gyda St. Clement yng Ngâl. Efe a sylfaenodd eglwys Lorraine. O'r dalaith hon efe a estynodd ei lafur efengylaidd i Illyria, ac o'r diwedd dyoddefodd ferthyrdod yn Toul, o.c. 110, Fel hyn cyn i un erw o dir Brutanaidd gael ei chyfuno ag ymherodraeth Rhufain Baganaidd, yr oedd Prydain, nid yn unig wedi derbyn yr efengyl, ond wedi bod yn offeryn bendigedig i'w lledaenu ym mhlith cenedloedd ar y Cyfandir.

Yn y flwyddyn 37, olynwyd Tiberius gan Caius Caligula. Hynodwyd y flwyddyn hon gan enedigaethau Nero, Josephus yr hanesydd, ac Iwl Agricola,—yr olaf o ba rai a

laflu allan oddiwrth echelau y cerbydau, y rhai a dorent archollion dychrynllyd, ac yn ei wneuthur yn achos o berygl aid bychan geisio ymosod ar ystlys y cerbyd. Ymffurfient yn adranau, bob un dan ei phriodol gad-lywydd, a'r cyfan o honynt dan lywyddiaeth y Pendragon. Dechreuid y frwydr drwy i un o'r adranau ruthro i lawr ar bwynt pennodol yn rhengc y gelyn. Dywed Caisar mai yn anaml y pallai golygfa yr ymgyrch, banllefau yr ymladdwyr, rhuthriad y meirch, a rhuad y fath gynnifer o olwynion yn gymysgedig a sŵn croch eu harfau, cyn cyfnewid un dyrnod â'u gilydd, ddyrysu rhengau y milwyr mwyaf rheolaidd a ddygid i'w gwrthsefyll. Wedi gweithio ffordd drwyddynt, disgynai yr ymladdwyr o'r cerbydau, yn ol fel y byddai yr amgylchiad yn galw, ac ymffurfient yn gyfangorff yn nghanol y gelynion, neu ymruthrent allan mewn rhyw fan arall, gan drywanu y gelyn â'u gwaywffyn trymion fel yr ymysgubent ym mlaen, ac ailymuno â'u gilydd er gwneuthur ymgyrch drachefn dan nawdd eu traed-filwyr. Nid oedd ymffurfiad agored y llengau yn alluog i wrthsefyll y fath gyfundrefn pan yn cael ei chyfarwyddo gan un ag oedd yn feistr ar ei waith. Yr oedd y seithfed lleng yn y weithred o encilio, pan y darfu dyfodiad Caisar am beth amser gyfnewid golygfa y frwydr. Ni pharhaodd y gwrth-hyrddiad ond am yspaid byr o amser. Canys ymosododd y meirch-filwyr Brutanaidd dan Nyniaw ar y ddegfed lleng yr hon a lywyddid gan Caisar yn bersonol—a daeth eu traedfilwyr i lawr ar yr un pryd a chyflawnasant lwydd y rhuthriad. Pallodd ymdrechiadau penaf y Cadfridog Rhufeinig i wella y dyryswch a ddylynodd. Yn ofer y taflai ei hun i ganol yr anrhefn. Yr oedd dyryswch a chydgymysgiad y milwyr yn anadferadwy. Ni chlywid ei lais gan dwrf a therfysg maes y frwydr. Tynwyd yr Eryr ei hun i lawr, ac fel yr oedd Caisar yn ei gysgodi â'i gorff, ymosodwyd arno gan Nyniaw. Ymgladdodd cleddyf y Rhufeinwr mawreddus yn nharian y Tywysog Brutanaidd, a chyn y gallai ei ryddhau, gwahanwyd yr ymladdwyr gan rediad y frwydr, a gadawyd y cleddyf ar ol fel arwydd buddugoliaeth i gael ei arddangos am amser maith wedi hyny i drigolion Caerdroia. Ychwanegodd y blaid bendefigaidd yn Rhufain y dygwyddiad yma cyn belled fel ag i gyhoeddi fod Caisar ar yr achos hwn, wedi dangos profion eglur o gachgïwch—ei fod

addurno ein hunain â'r pethau hyn, nyni a ddychwelwn i Rufain, ac yn lle brenin Brutanaidd, caiff Neptune duw'r cefnfor ei hun ei ddwyn genym yn gaethwas i'r brif-ddinas tu ol i'n cerbyd buddugoliaethus. Yr wyf yn addaw i bob un o honoch, fy nghyd-filwyr yn yr anturiaeth beryglus hon, flwydd-dâl yn ychwanegol yn rhôdd, fel cydnabyddiaeth gyfiawn o'ch gwasanaeth a'ch ffyddlondeb i'ch hymherawdwr."

Yr araeth ryfedd yma, yr hon y mae yn anhawdd ei hystyried mewn unrhyw olygiad arall heblaw fel gwawd ymarferol gormeswr annibynol, yr hwn yr oedd ei ynfydrwydd du, fel yr eiddo Paul o Rwsia, yn cael ei oleuo yn achlysurol gan fflamiadau afreolaidd o arabedd, ar uchelgais a hunanoliaeth ffol yr holl eppil o oresgynwyr, a dderbyniwyd gyda banllefau taranllyd. Yr oedd y rhyfelgyrch cynllunedig wedi cael ei olygu o'r dechreu gyda diflasrwydd eithafol gan y milwyr yn gyffredin, ac er gwaethaf y digllonedd sarug a amlygid ac a ddatgenid yn gyhoeddus gan eu swyddogion, ni phetrusent arllwys yn gyflawn hyfrydwch eu calon, a chyda chellweiriau milwrol a chydseiniau o chwerthiniad, hwy a efelychasant esiampl eu meistr ymherodrol. O bob profedigaeth i ffydd Cristion yn rhagluniaeth arolygiadol Duw, y drŷch ag sydd mor aml yn cyfarfod ein golwg mewn Hanesiaeth o fod llwyddiant cenedloedd yn cael ei osod ar drugaredd ynfydion a'r cymeriadau dyhiraf mewn "swyddau goruchel," yw yr un mwyaf profedigaethus, ac efallai mai hyn yw y prawf moesol sicraf a feddwn o sefyllfa ddyfodol o wobrwyaeth a chosb. Syllai y llynges Frutanaidd gyda syndod ar wroniaid llyrugawl yr ymherodraeth yn digrifo eu hunain gyda llonder plant yn yr hyfrydwch plentynaidd o gasglu cregyn ar lân y môr. Nid oedd y dehongliad a roddid o'r fath amlygiad rhyfedd o weithrediadau gormesiad braidd yn ddim llai dyryslyd, ond pan y deallwyd ef, daeth yn destyn diyspydd o londdigrifwch cymdeithasol a gwawd barddonol i'r holl ynys. Codwyd y gwersyll, ac aeth Caligula i mewn i Rufain mewn gorymdaith fuddugoliaethus gyda'i fyddin, ar ddydd ei enedigaeth, sef Awst 31ain, o.c. 40. Dirgel lofruddiwyd ef y flwyddyn ganlynol, yn y 29ain mlwydd o'i oedran, (Ionawr 24ain), a dylynwyd ef i'r orsedd gan Gloew, ag oedd y pryd hyny yn ei 50ain mlwydd.

Hynodwyd y flwyddyn o.c. 42 gan y gwaith o gydgorffori

holl Ogledd Affrica gydâ'r ymherodraeth Rufeinig, drwy rym arfau Suetonius Paulinus a Cneius Ovidius Geta.

Ym mis Gorphenaf, daeth cennadwriaeth Frutanaidd oddiwrth Gwydr i Rufain, yn cwyno o barth y cefnogiad a roddid gan y llŷs Rhufeinig i gûdd-amcanion Beric ac Adminius, dau dywysog o'r Brigantwys a'r Coritaniaid, y rhai oeddynt wedi cael eu halltudio o Brydain am eu gweithredoedd bradwrus, gan fod wedi cael eu dal yn dwyn ym mlaen ohebiaeth gyda Caligula yn ystod yr ymgyrch bygythiol diweddar. Dychwelodd y cennadau nid yn unig heb ateb dyben eu cennadwriaeth, ond mynegent am benderfyniad Gloew i anturio yn ngwyneb pob enbydrwydd oresgyn Prydain.

Pa gyfrifiad bynag a allwn ffurfio o gymhwysderau gwleidyddol Gloew ei hun, y mae'n sicr na bu swyddogaethau mawrion y llywodraeth un amser yn cael eu llenwi gan ddynion o alluoedd gweinidogaethol mwy goruchel. Yr oedd gwladlywiad yn gofyn hefyd cael allan waith mewn gwlad dramor i luoedd milwrol dirfawr yr ymherodraeth, gan nad ellid ofni un perygl gyda mwy o achos gan lywodraeth ormesol na milwyr segurllyd a phenrhydd. Yr oedd dyogelwch gorsedd y Caisariaid yn gorphwys ar ffyddlondeb i'r llywodraeth—a ffyddlondeb i'r llywodraeth ar y ddysgyblaeth—a'r ddysgyblaeth ar waith anrhydeddus i'r llengoedd yn erbyn gelynion Rhufain. Yr ystyriaethau anhebgorol hyn oeddynt yn ffurfio ac yn cymhell gwladlywiad tramor y llŷs ymherodrol. Nid oedd ffugesgusodion byth yn eisiau er cario allan y cyfryw wleidiadaeth yn erbyn llywodraethau annibynol. Cyhoeddwyd rhyfel yn ffurf arferol y coleg Rhufeinig o ringyllwyr—sef, taflu gwaywffon yng nghyfeiriad Prydain a galw ar y duwiau i dŷnu yn ol eu presenoldeb a'u hamddiffyniad oddi wrthi. Ataliwyd pob cymundeb rhwng y ddwy deyrnas. Casglwyd yng nghyd lu nerthol o dan Aulus Plautus, un o'r gwyr galluocaf a mwyaf anmhetrusgar o gadfridogion heiarnaidd yr ymherodraeth, yn yr ymgyrchfa arferol yn Boulogne. Yr oedd y llynges a gasglwyd i'w trosglwyddo yn rhy luosog a rhagorol ei darpariadau i'r llynges Frutanaidd feddwl ymladd â hi. Gan hyny hi a ddychwelodd wrth orchymyn Gwydr i Torbay. Nid cynt y symudwyd y rhwystr hwn nag y cyfododd un arall i'r golwg o le gwahanol hollol ond nid heb ei ddysgwyl. Canys torodd terfysg allan ym mhlith

y fyddin ymgyrchol pan wybuasant mai i Brydain yr oeddynt i fyned. Pallai pob apeliad at eu llwon milwrol o ufudd-dod a ffyddlondeb i gael un argraff arnynt. Nid oedd mynediad tair cenedlaeth heibio wedi dileu y goffawdwriaeth am ryfelgyrchoedd Iwl a'r byddinoedd ymherodrol—chwedlau am danynt, wedi eu trosglwyddo i lawr mewn traddodiadau bywiol ac addurnedig, am y rhuthriadau cerbydol ofnadwy, am y brwydrau gwaedlyd ac ystyfnig ar draeth Walmer, ar y maesydd pennodol, ac o fewn y gwersylloedd eu hunain, a adroddid ym mhob pabell. Mewn atebiad i annerchiadau cynhyrfus eu cadfridog, dychwelai yr amrywiol finteioedd nacâd sarug a phenderfynol o barth myned ar fwrdd y llynges. A chan grogi eu harfau i fyny, crochlefent, "Ni a awn ar ymdaith i unrhyw fan o fewn y byd Rhufeinig, ond nid allan o hono." Yr oedd yr adeg yn cynnwys mwy nag un math o berygl. Felly Narcissus, eunuch, yr hwn oedd gaethwas wedi derbyn ei ryddid, a hoff weinidog Gloew, a anfonwyd yn ddioed o'r llŷs fel brysgennad i le yr anfoddlonrwydd terfysgol. Narcissus, diffygion yr hwn nid oeddynt annewrder naturiaethol na moesol, gan alw y milwyr y nghyd, a esgynodd areithfa y cadfridog ac a ddechreuodd eu hannerch hwynt. Dyma oedd y tro cyntaf i eunuch erioed feiddio annerch byddin Rufeinig. Cadwyd y llengoedd yn fûd dros rywfaint o amser gan annheimladrwydd, ond pan grochlefodd efe, "y byddai iddo ef ei hun fod yn arweinydd iddynt i Brydain," llifodd dagrau o gywilydd i lawr eu gruddiau a derchafodd banllef gyffredinol o ddigllonedd i fyny o'r gwersyll—"fod eunuch yn meiddio cynnyg ei hun i arwain dynion." Yr oedd y gwrthweithiad yn gyflawn. Amgylchynodd y milwyr babell Plautus, "atolygasant arno eu harwain i Brydain neu i unrhyw le a ddymunai." Cymerodd y cadfridog fantais dioed ar y cyfnewidiad hwn yn eu tymher, a chan eu harwain i'r llongau yn dair o adranau, glàniodd ym mhen deuddydd ar ol hyny rhwng Thanet a Richborough.

Mae trais-ymgyrch Gloew a ddechreua yma, o.c. 43, ac a derfynodd ar ol rhyfela am yspaid tair a deugain o flynyddoedd gyda llwyddiant anwadal, yn y gwaith o ymlid y Rhufeiniaid allan o Brydain, o.c. 86, yn nodedig am y nifer o gadfridogion galluog a gynnyrchwyd drwyddo y naill ar ol y llall ar bob ochr. Gwasanaethodd Brydain yn ystod yr amser hwn, yr un dyben i Rufain ag y gwnaeth Hindostan

yn ystod y ganrif ddiweddaf i Brydain—hi oedd y maethle er codi cadfridogion a chynnal i fyny effeithioldeb ei lluoedd. Oddigorth rhyfelgyrchoedd Corbulo, yn yr Almaen (o.c. 47), ac Armenia (o.c. 58), a goresgyniad Dacia a effeithiwyd mewn un rhyfelgyrch, (o.c. 86), ni ddarfu i unrhyw ryfeloedd tramor eraill ddwyn ystyriaeth lluoedd arfog Rhufain. Gan hyny, yr oedd yr ymherawdwyr a'u dwylaw yn rhyddion i gyfarwyddo holl nerth milwrol yr ymherodraeth yn erbyn yr ynys hon yn unig—ffaith ag y mae yr haneswyr Rhufeinig wedi bod yn ofalus i'w chadw o'r golwg; o ganlyniad nid yw yn pery un syndod i'r ysgrifenwyr diweddar beidio a sylwi arni, y rhai ni allant weled unrhyw beth Brutanaidd yn yr hen oesoedd gwronaidd hyn oddieithr drwy gyfrwng gwyrgam a'gelynol llygaid Rhufeinig.

Y llwybr o fyned ym mlaen a gymerwyd gan Plautus oedd yr un yr aethai Iwl Caisar ar hyddo, ar ol brwydr *Caii Collis*, tua'r brif-ddinas—sef, y ffordd Wyddelig. Trefnwyd y fyddin Frutanaidd dan lywyddiaeth Gwydyr a'i gefnder Caradoc ar y gwastadedd rhwng bryniau Caint a'r afon Dafwys, ar y man lle yn awr y saif tref Deptford. Terfynodd y frwydr a gymerodd le yn enciliad Gwydyr ar hyd glàn ddeheuol yr afon, lle yn agos i Richmond, yr ymladdwyd ail frwydr, yn yr hon y lladdwyd y penadur Brutanaidd. Dylynwyd ef i'r orsedd gan Gweirydd; ond gan fod y dir-anghen gwladwriaethol yn gofyn yr undeb hwnw o weithrediad yr hwn ni allesid ei sicrhau ond yn unig drwy undeb llywyddiaeth, pennodwyd Caradog drwy unol lais y gymanfa ddygynnull i fod yn Bendragon—a rhoddodd Gweirydd ei hun y bleidlais gyntaf o'i ochr, gan gydsynio i weithredu o dan ei lywyddiaeth ef. Tynodd Caradog ei luoedd yn ol dros y Dafwys yn ymyl Chertsey—a chan i Plautus mewn erlyniad ar ei ol, anturio gwthio ei ffordd drosodd, curwyd ef yn ol deirgwaith gyda cholled. Ond bu y bedwaredd anturiaeth yn llwyddianus. Gan fod y fyddin Rufeinig wedi ei rhanu yn dair catrawd dan Plautus, Flavius Vespasian yr ymherawdwr dyfodol, a'i frawd, aeth i'r afon mewn tri o wahanol fanau, tra yr ymosododd corff cryf o feirch-filwyr Allmaenaidd ag oeddynt wedi nofio drosodd yn is i lawr, ar ystlys y fyddin Frutanaidd. Parhaodd y frwydr ar yr ochr ogleddol, wedi iddynt weithio eu ffordd drosodd, yn ol yr hyn a ddywed Dion Cassius, yr hanesydd Groegaidd, yr hwn oedd wedi tynu allan ei ddefnyddiau o'r

cofysgrifau ymherodrol neu lywodraethol yn Rhufain, am ddeuddydd; gan orchfygu y Pendragon yn y diwedd drwy ddyfeisdro tra anturiaethus a wnaed ar ystlys a chefn ei fyddin gan Cneius Geta, goresgynydd diweddar Mauritania. Gwerthfawrogwyd y gorchestwaith hwn mor uchel fel y gwobrwywyd Geta â gorymdaith fuddugoliaethus—yr hyn dan yr amgylchiadau oedd yn anrhydedd anghyffredin, canys nid oedd eto wedi cyrhaedd yr urddas alfaerol. Caradog, yn llo encilio i mewn i'r wlad, a arweiniodd ei luoedd o amgylch Llundain at gorsydd Essex. Triniwyd Plautus a Vespasian mor erwinol wrth ymlid ar ei ol fel yr anfonasant frŷs-gennadau i Rufain am adgyfnerthoedd a chyfarwyddiadau. Gadawodd yr ymherawdwr Rufain yn ddioed, a chan fyned drwy Gâl, glàniodd yn Richborough gyda'r ail leng a'r bedwaredd-ar-ddeg, eu cynorthwywyr, a minteioedd o gawrfilod; ymunodd â Plautus yn Verulam. Y fyddin wedi ei chryfhau fel hyn a ymsymudodd yn erbyn Caer Col, ac ymunodd y Coritaniaid o dan Adminius â'i rhengau gan godi baner gwrthryfel o'r tu cefn i'r Pendragon. Geilw Dion Cassius Caer-Col yn Basileion, neu ddinas freiniol Cynfelyn, tad Gweirydd. Darbwyllwyd Caradog yn erbyn ei farn ei hun i anturio brwydr bennodedig arall ar y maes er mwyn ei hamddiffyn. Gorchfygwyd ef yn hollol; gan i'r minteioedd o gawrfilod ddygwyd drosodd i'r perwyl hyny gan Gloew wneuthur holl ymdrechiadau y cerbydwyr yn ofer i geisio gyru eu meirch fel cynt yn erbyn y rhengau Rhufeinig. Ar ol gwrthwynebiad byr rhoddodd Caer-Col i fyny iddynt. Gan fod Gloew wedi cael ei foddloni yn y llwyddiant hwn, efe a wnaeth gytundeb â dwy genedl y Coraniaid a'r Iceniaid, drwy yr hwn y penderfynwyd y byddai iddynt, os talent swm pennodol o deyrnged, gael bod mewn meddiant parhaol, dan nawdd-amddiffyniad Rhufain o'u tiroedd, eu cyfreithiau, a'u llywodraeth frodorol. Yna Gloew gan ddychwelyd o'r ynys a gadael y gwaith o ddwyn y rhyfel ymlaen yn nwylaw Plautus, Vespasian, a Geta, a fawrygodd ei orymdaith fuddugoliaethus yn Rhufain gyda gorwychder nodedig—ac yn fwy hynodol oherwydd y gostyngeiddrwydd a ddangoswyd ganddo ef ei hunan wrth esgyn grisiau y brif ddinas ar ei liniau, yn cael ei gynnal ar bob ochr iddo gan ei feibion-yngnghyfraith. Gorchymynodd y senedd fod i gerf-ddelw gael ei gwneuthur i Rubrius Pollio ei raglaw, a gorymdaith

fuddugoliaethus i Plautus. Heb ei ddychrynu gan ei ddymchweliadau, na chan bresenoldeb y tri chadfridog galluocaf o eiddo Rhufain ar y maes yn ei erbyn, Caradog wedi anrheithio tiriogaethau y Coraniaid â thân ac â'r cleddyf, a symudodd y rhyfel o'r gwledydd gwastad i daleithiau mynyddig y Deheu-Orllewin. Anfonwyd Vespasian gyda'r llynges Rufeinig i ymdrechu glànio yn Torbay, tra yr ymdeithiodd Plautus yn erbyn y Pendragon ar y tir; gan adael Geta mewn llywyddiaeth yn Caer-Col, gyda gorchymyn i ddechreu codi rhes o warchgloddiau o ben y corsydd ag sydd yn awr yn ffurfio ynys Ely, hyd Gaerloyw. Dygwyd ym mlaen y gwaith enfawr hwn gydag yni diflin ac arferol y llengwyr Rhufeinig, dyben yr hwn ydoedd, drwy amgau Caradog i mewn rhwng lluoedd Vespasian a'r cylchglawdd oedd yn cael ei godi y tu cefn i'w fyddin, ei ddirgymhell naill ai i adael ar ffrwst y rhan ddeheuol o'r ynys, neu i ymddarostwng. Yr oedd tŵr ar ol tŵr yn cael eu codi, a phob un fel ei gorphenid yn cael ei feddianu gan ei warchodlu neillduol. Vespasian yn y cyfamser yn nghwmni ei fab Titus, yr hwn mewn amser dylynol oedd oresgynydd Judea a Jerusalem, a'r hwn oedd ei olafydd yntau fel ymherawdwr, wedi cael eu curo yn ol gan Gweirydd mewn ymosodiad a wnaed ganddynt ar gastell Dover, lle o gryfder mawr, a gyfeiriasant eu mordaith i Torbay, lle y glaniasant yn y bedwaredd flwyddyn o'r rhyfel, sef Mehefin 3ydd, o.c. 47. Yr oedd siroedd Devon, Dorset, a deheubarth Somerset yn cael eu cynnwys y pryd hyny dan yr enwad cyffredinol Dyfnaint. Gofynid llyfr yn gyfrol o faint i wneuthur cyfiawnder â'r rhyfelgyrchoedd a ddylynasant. Yn ystod yr amser y dygid hwy ym mlaen cymerent i fyny holl ystyriaeth y byd Rhufeinig. Er dyddiau Mithridates nid ymddangosodd un gwrthwynebiad i waith Rhufain yn hònni hawl i arglwyddiaeth gyffredinol teilwng i'w gydmharu mewn cymhwysderau milwrol a dyben sefydlog i Bendragon Prydain. Mae y gwersylloedd Rhufeinig a Brutanaidd, a gyfodid yn orsafau gogyfer a'u gilydd, dros holl arwyneb Dyfnaint, yn aros eto yn brofion parhaus o natur ffrochwyllt yr ymladd a gymerodd le am dair blynedd o fewn ei chyffiniau. Yn ol yr hyn a ddywed Suetonius, ymladdwyd deg-a'r-hugain—ond yn ol Eutrepius, deuddeg-a'r-hugain o frwydrau rhwng Vespasian a Charadog yn yr amser byr yma. Mae eu rhif yn unig yn profi na all-

asai un ochr ymffrostio ei bod wedi cael unrhyw fantais bennodol yn un o honynt. Yr oedd prif luestdŷ Vespasian a Thitus wedi ei sefydlu yn y wersyllfa fawr ar fryn Hampden, yn agos i Ilchester, arwyneb yr hwn sydd yn alluog i gynnwys 100,000 o wyr. Cafodd Gweirydd yn absenoldeb Caradog ei orchfygu yn hollol ar dir ag sydd yn awr yn ffurfio tyddyn a elwir Tyddyn y Goresgyniad, Llidiard yr Esgob, yn agos i wersyllfa fechan oddèutu ugain erw o faint. Aeth Vespasian ym mlaen ar ol ei fuddugoliaeth i warchae Caer Wysg. Ar yr wythfed dydd o'r warchäedigaeth daeth Caradog a Gweirydd ar ei warthaf yn ddisymwth yn ei warchgloddiau, a gyrwyd ef ar ffoedigaeth gyda lladdfa fawr. Cafodd Titus ar yr achlysur hwn yr anrhydedd o achub bywyd ei dad; canys yr oedd yr ymosodiad Brutanaidd mor sydyn a gorlethol fel yr oedd Vespasian ar fin cael ei ladd yn ei babell, pan y darfu i Titus gyda mintau gyntaf y 14eg lleng, wrth ddeall y perygl yr oedd ei dad ynddo ar y pryd, ruthro ar ei gymerwyr, ac ar ol ymladdfa waedlyd, ei waredu o'u dwylaw.

Mae anwadalrwydd dygwyddiadau y rhyfel a ddylynodd hyd nes y cafodd Aulus Plautus ei alw yn ol ac Ostorius Scapula ei bennodi i brif lywyddiaeth milwrol y byddinoedd ymgyrchol, yn cael eu crynhoi mewn dull tlws a darluniadol gan Tacitus, hanesydd cydbendodol Rhufain yn ei ddysgrifiad o hynt Caradog.—"Rhoddai yr Esyllwyr hyder dirfawr yng Ngharadog, gan gyfrif yr aml frwydrau cyfartal a ymladdasai efe â'r Rhufeiniaid, a'r aml fuddugoliaethau a gawsai arnynt." Nid yw annhegwch yr haneswyr Rhufeinig i'w weled mewn dim yn fwy amlwg nag yn y dystawrwydd penderfynol a gadwant o barth enwau, lleoedd, a manylion y buddugoliaethau Brutanaidd hyn—tra ar y llaw arall y mae pob aflwyddiant Brutanaidd wedi cael ei gofrestru yn ofalus a manwl yn ei holl amgylchiadau. Bu coffawdwriaeth y gwladgarwr pur ac ysprydlawn a arweniodd y Prydeiniaid ar gymaint o faesydd yn erbyn rhestr olynol o'r cadfridogion medrusaf oedd wrth alwad Rhufain yn cael ei goleddu yn hir gyda serchawgrwydd gwresawg gan y Cymry. Sonir am dano yn y Trioedd fel hyn:—"Tri glewion Unbennaid Ynys Prydain: Cynfelyn Wledig, a Charadawg ab Brân, ac Arthur; sef y gortrechaint ar eu galon hyd nas gellid, namyn o frad a chynllwyn eu gorfod." "Tri phrif Gatteyrn Ynys Prydain: Caswall-

Daeth cerbyd-feirch y llu Brutanaidd yn hollol anhydrin fel yr oedd yr anifail, gan ruo ac udganu yn null rhyfelog y dyddiau hyny, yn neshâu at ymyl yr afon ar ba un yr oeddynt wedi eu trefnu. Yn y terfysg a achoswyd fel hyn, llwyddodd y llengwyr i sefydlu eu hunain yn gadarn o fewn y gwarch-gloddiau Brutanaidd. Enciliodd Caswallon yn ol ar ffordd Ermyn tua Verulam.

Mae y darluniad a roddwyd i ni gan Caisar o fyddin-drefniad y Pendragon Brutanaidd, gyda Llundain mewn gwrthryfel agored ar ei asgell chwith, a'r fyddin Rufeinaidd yn ei wyneb, yn rhoddi i ni arlun bywiog o'r gyfundrefn amddiffynol o ryfela, a ddygid ym mlaen gyda medr hynod a gwladgarwch anarbedus. "Caswallon, gan roddi fyny o'r pryd hwn bob bwriad o ddyfod i ymladdfa benodedig, a ollyngodd ymaith y rhan fwyaf o'i luoedd, gan gadw dan ei lywyddiaeth ei hun bedair mil o gerbydau, gyda pha rai y gwyliai efe ein symudiadau; gan gymeryd ei safle ychydig allan o lwybr ein hymdaith ni mewn sefyllfaoedd a amddiffynid gan goed neu a fyddent mewn rhyw fodd arall yn anhawdd myned atynt; byddem yn ei gael bob amser o'n blaenau, yn ysgubo allan o'r holl wlad ddynion, anifeiliaid, ac ymborth. Yr oedd ein gwyr ceffylau fel hyn yn gorfod myned ym mhellach i chwilio am ymborth i'w meirch nag yr oedd callineb yn gwarantu—pa bryd bynag y gadewid hwy yn ddiadnerth, byddai Caswallon, yr hwn oedd yn dra adnabyddus o ac yn hollol feistr ar y prif-ffyrdd a'r culffyrdd, yn rhuthro arnynt gyda'i gerbydwyr. Yr oedd perygl mawr yn dylyn y brwydrau hyn, ac yr oedd Caisar yn cyfyngu ymsymudiadau ei feirch-filwyr o fewn golwg prif gorff ei fyddin. O ganlyniad nid allai anrheithio tiroedd na llosgi adeiladau y gelyn ddim ym mhellach nag y gorweddent o fewn cylch ymdaith a chyrhaedd ei wyr traed."

Yr oedd tri mis weithian wedi myned heibio er pan diriodd y fyddin ymgyrchol yn Thanet. Yn ystod y deng niwrnod-a-phedwar-ugain hyny er gwaethaf athrylith berffaith ac yni ystyfnig eu cadflaenor, ni lwyddodd y Rhufeiniaid i weithio eu ffordd ym mhellach na deng milldir a thrigain i mewn i'r wlad. Casglwyd yr anifeiliaid a'r ymborthion a gymerwyd i fyny drwy y wlad gan Caswallon, i gaerfa grêf, yn agos i'r lle y mae St. Alban yn sefyll yn awr. Cyfeiriodd Caisar ei ymdaith tua'r ystorfa hon heb wybod am yr enbydrwydd hynod a'i bygythiodd yng Nghaint.

wedi syrthio i ddwylaw y goresgynwyr. Ond efe ei hun, yn ol ei mynych erfyniadau hi, a gymerodd noddfa gyda Chartismandua, brenines y Brigantwys, a daliwyd ef yn ei gwsg yn ei ystafell gan fintai o wyr arfog; rhoddwyd ef dan faich o gadwynau, a thraddodwyd ef i fyny i ddwylaw y Rhufeiniaid. Mae yr ymddygiad gwarthus yma o eiddo ŵyres yr archfradwr, Afarwy, yr hon oedd ym meddianu ei yspryd ffiaidd o dwyll a brad-ddichell yn adnabyddus yn y Trioedd fel y gyntaf o "dair brâd ddirgel Ynys Prydain" Wedi ei anfon i Rufain dan warchodlu cryf, cododd dyfodiad y carcharor mawrwych sylw pob dosbarth. Llanwai y bobl y ffyrdd ag oedd yn arwain i'r brif-ddinas er cael golwg ar y dyn y bu ei enw am naw mlynedd yn dra hysbys ar eu clustiau fel gwrthwynebwr ac yn aml fel gorchfygwr Rhufain yn Ynys Fawr y Gorllewin. Galwyd y senedd ynghyd, a thraddodwyd areithiau, gan gydmharu yr amgylchiad i'r dygwyddiadau mwyaf gogoneddus, megys cwymp Hannibal, Mithridates, a Jugurtha, yn amser y werin-lywodraeth; a phenderfynwyd anrhydeddu Ostorius â gorymdaith orfoleddus. Y mae prawf ac araeth Caradog ger bron gorsedd yr ymherawdwr ac ym mhresenoldeb y senedd yn byngciau rhy hysbys i ni ymhelaethu arnynt. Gan ymddangos mor rhydd yn ei gadwynau a phan oedd ar ei fryniau brodorol, ennillodd ei ymddygiad tawel a mawrfrydig orhoffder yr holl gynulleidfa. "Pe buasai mesur fy llwyddiant," ebe efe, "yn gyfartal i'm huchel foneddd a'm cyflwr genedigol, gallaswn yn hir cyn hyn ddyfod i mewn i'r ddinas hon fel cyfaill yn hytrach nag fel carcharor rhyfel—ac ni fuasai i chwithau ddiystyru fel cyngrheirydd Frenin yn deilliaw o hynafiaid pendefigaidd, a Phendragon llawer o genedloedd. Fy nhynged bresenol, fel ag y mae yn anffodus i mi, felly y mae yn fawrygus i chwithau. Bu'm unwaith yn arglwydd ar ddynion, meirch, arfau, a chyfoeth—pa ryfeddod yw fy mod wedi gomedd eu rhoddi i fyny wrth eich gorchymyn chwi? Yr ydych chwi yn ymgeisio am oruchafiaeth gyffredinol: a yw yn canlyn gan hyny y dylai pob cenedl dderbyn y warogaeth a ddymunech chwi osod arnynt? Yr wyf fi yn awr o dan eich awdurdod, wedi fy mradychu, ac nid fy ngorchfygu. Pe buaswn I fel eraill wedi rhoddi fyny i chwi heb wrthwynebiad, pa le y buasai enw Caradog, a'ch gogoniant chwithau? Buasent wedi eu cydgladdu yn yr un bedd o ebar-

gofiant. Gorchymyner i mi gael byw, a bydd i mi oroesi byth mewn hanesiaeth yn un engraifft o leiaf o dynerwch Rhufeinig."

'Yr arferiad yn yr arddangosiadau echrydus a gwaedlyd hyny o falchder Rhufeinig a elwid "Buddugoliaethau" ydoedd, fod mewn man pennodol ar y *Sacra Via* i'r breninoedd a'r cadfridogion caethus a ddylynent yn droednoeth, yn ben-noeth, ac mewn cadwynau, gerbyd buddugoliaethus eu gorchfygwr, gael eu symud o'r orymdaith, a'u taflu i'r daeargelloedd Tarpeianaidd, ac yno gael eu llindagu, tori eu penau, neu eu gadael i farw o newyn. Dedfrydid y carcharorion cyffredin i ladd y naill y llall mewn ymladdfeydd dau fywyd yn y campau cleddyfol nesaf a gymerent le, er difyrwch i'r gwerinos mwyaf diraddiol efallai a ymgasglodd erioed o fewn muriau unrhyw ddinas fawr. Y mae gwarediad Caradog yn ffurfio eithriad unigol yn y rhestr hir o aberthau a wnaed dan y wladlywiaeth anwrol a chreulawn hon. Caniateid iddo ef drigianu am saith mlynedd fel rhydd-garcharor yn Rhufain; tra cedwid Brân, ei dad oedranus a holl deulu breninol Esyllwg, yn wystlon drosto. Yr oedd ei drigfa yn y palas ar lethr un o'r saith Bryn, yr hwn a drowyd gan ei wyres Pudentiana yn Eglwys Gristionogol, y gyntaf yn Rhufain, yr hon a adnabyddid ar y dechreu dan yr enw "Titulus," ond yn awr "St. Pudentiana." Yma y priodwyd ei ferch Gwladys â Rufus Pudens, boneddwr Rhufeinig yr hwn oedd wedi bod yn llenwi sefyllfaoedd milwrol a gwladol tra uchel ym Mhrydain, ac etifeddiaethau yr hwn a orweddent yn yr Apenniniaid Umbriaidd. Deilliodd pedwar o blant o'r briodas hon, sef, St. Timotheus, St. Novatus, St. Pudentiana, a St. Praxedes. Dau o frodyr Gwladys oeddynt St. Cyllin, yr hwn a ddiweddodd ei ddyddiau ym Mhrydain, a Lleyn yr hwn a urddwyd ar ol hyny gan St. Paul yn esgob cyntaf ar eglwys genhedlig Rhufain—megys yr oedd St. Clement ar yr eglwys Hebreaidd. Mae yn debyg mai gan ei wraig y dychwelwyd Rufus Pudens at Gristionogaeth, yr hon oedd ei hun yn un o ddychweledigion y gennadiaeth Arimatheaidd, a hyny yn ddiau cyn dyfodiad cyntaf St. Paul i Rufain—canys yn ei Epistol at y Rhufeiniaid yr hwn oedd wedi ei ysgrifenu cyn y cyfryw ddyfodiad, crybwyllir am Rufus megys eisoes yn "etholedig yn yr Arglwydd." Yn o.c. 56, y daeth St. Paul i Rufain. Ac yn o.c. 57, y cafodd Bran,

Caradog, a'r aelodau eraill o deulu breninol Esyllwg eu dychwelyd a'u bedyddio ganddo ef.

O'r amser hwn daeth y "Titulus" yn gartref i St. Paul a'r apostolion eraill pa bryd bynag yr ymwelent â Rhufain. Dygwyd i fyny blant Gwladys, y soniwyd am danynt uchod, yn llythyrenol ar eu gliniau. Hermas, yr hwn a elwid "Bugail," oddiwrth waith o'i eiddo a gyfenwid felly, a urddwyd yn weinidog cyntaf i'r Cristionogion a ymgynullent er mawl a gweddi yn y tŷ hwn. Yn o.c. 59 cafodd Aristobulus, brawd St. Barnabas, a thad yng-ngyfraith St. Pedr, ei urddo gan St Paul yn Esgob cyntaf y Prydeiniaid, a gadawodd Rhufain gyda Brân, Caradog, a'r teulu breninol i fyned i Esyllwg. Aeth dau o gennadau eraill gydag ef, sef, Ilid a Cyndaf, "gwyr o Israel," megys y cyfenwir hwynt yn âchau Cymreig y saint cyntefig. Y mae Brân ei hun o herwydd yr ail arwedd yma yn y gwaith o ddwyn Cristionogaeth i mewn i Brydain, yn cael ei adnabod fel un o "Fenwedigion Teyrnedd" yr ynys, a chysylltir y cyfenw *Bendigaid* yn gyffredin wrth ei enw. Y flwyddyn ganlynol ymwelodd St. Paul ei hun â'i ddychweledigion breninol ym Mhrydain, ac ar ol aros yma am rai misoedd dychwelodd gyda Gwladys Pudens, a Linus, yn ol i'r Cyfandir. Yn o.c. 67, ar ol ei ail garchariad yn Rhufain, ac ar y prydnawn cyn ei ddienyddiad, efe a ysgrifenodd o dŷ Gwladys ei epistol ymadawol at Timotheus yn Creta. Yr unig annerchiadau ynddo yw y rhai hyny o barth teulu gwladgarwr mawr Prydain—sef, Pudens, Linus, Eubulus, a Chlaudia, y rhai fel hyn, yn ffyrdd anchwiliadwy yr Hollalluog a dderchafwyd, drwy y brofedigaeth danllyd, o anffodion gwladwriaethol, a darostyngiad teuluaidd, i weinyddu yn oriau olaf Apostol a sylfaenydd yng Nghrist yr Eglwys Genhedlig. Nid oes un cymeriad hawddgarach yn cael ei gynnyg i'n sylw yn nalenau hanesiaeth nag eiddo y famaeth Frutanaidd uchelryw yn gweinyddu fel hyn i "Paul yr hynafgwr" yn ystod yr amser rhwng "aberthiad ei gorff" a derbyniad y "goron cyfiawnder a roddwyd i'w chadw iddo ef"; nac un engraifft mwy hynod o'r modd y mae Duw, yr hwn sydd yn dwyn daioni allan o ddrygioni, yn goruwch lywodraethu adfydion tymorol fel ag i fod yn offerynau iechydwriaeth dragwyddol. Mae dygiad yr Efengyl i mewn i Brydain yn uniongyrchol o darddellau Apostolaidd a than y nawdd wladol uchelaf yn y deyrnas,

i'w olrhain at drychineb, yr hwn oedd ar y pryd yn ymddangos nid yn unig yn anadferadwy ond fel yn milwrio yn erbyn cyfiawnder y nefoedd yn llywodraethiad cenhedloedd.

Yn o.c. 53, Medi 28ain, ar farwolaeth Claudius daeth Nero ar ei ol i'r orsedd. Bu am ryw gymaint o amser dan ddylanwad Seneca, yr hwn oedd athronydd Stoicaidd mewn proffes, ond mewn ymarferiad yn arolygwr gormeslyd. Yr oedd cyfalaf (*Capital*) y dyn hwn yn y cyfanswm yn agos i bymtheg myrddiwn o'n harian ni. Efe a roddodd allan ar lôg ddwy fyrddiwn o'r rhai hyn i'r Iceniaid Brutanaidd, ar ddyogelwch eu hadeiladau cyhoeddus, yr hon yw yr engraifft gyntaf o fenthyciad gwladol ar gôf. Brenin yr Iceniaid oedd Prasutagus—a Buddug oedd ei Frenines. Yr oedd cyfoeth Prasutagus mewn sylw tra nodedig yn Rhufain.

Yr oedd Gweirydd yn y cyfamser wedi cael ei ethol yn olynydd i Caradog fel Pendragon. Gorchfygwyd Ostorius ganddo ef yng Nghaer Beli, yn agos i Gaerlleon-ar-Wysg. Wedi diffygio yn hollol o ran corff a meddwl drwy anhawsderau cynyddol ei sefyllfa, rhoddodd Ostorius yn fuan wedi hyny y gadlywyddiaeth i fyny i Didius Gallus—a Gallus i Veranius; ond ni phrofodd y naill na'r llall eu hunain yn gyfartal i'r gwaith o ymladd â'r penadur Brutanaidd. Gyrwyd y byddinoedd Rhufeinig tu ol i warchgloddiau Plautus. Bwriwyd Veranius allan o'i swydd a phennodwyd Suetonius Paulinus yn ei le—yr hwn oedd gadfridog o reddf tra gwahanol, ac ym mhlith is-swyddogion galluog eraill yr oedd Iwl Agricola ganddo dan ei lywyddiaeth.

Yn o.c. 57, gan fod Pomponia Grecina wedi cael ei chyhuddo yn gyhoeddus o'r drosedd o ddylyn Cristionogaeth, yr hyn dan y gyfraith Rufeinig a drinid fel teyrn-fradwriaeth, erlynwyd hi drwy orchymyn yr ymherawdwr Nero, "yn ol rhyw hên ddeddf"—sef, ger bron cwrt o'i pherthynasau, yn cael ei arlywyddu gan ei gwr. Ond cyhoeddwyd hi yn ddieuog o'r holl gyhuddiadau a osodent ei bywyd neu ei hanrhydedd mewn enbydrwydd.

Yn o.c. 60, ychwanegwyd rhyfel Buddug yn Nwyreinbarth Prydain at y rhyfel a ddygid ym mlaen yn y Gorllewin o dan Gweirydd. Yr achos o hono ydoedd fel y canlyn:—hawliai Seneca, y cyfalafydd, heb roddi rhybudd dyladwy, ad-daledigaeth dioed o'r benthyg a roddasai ef i'r Iceniaid, ynghyda llôg mawr direswm. Ar waith y senedd Iceniaidd

yn gwrthwynebu maintioli y llôg, ac yn dymuno cael amser i wneuthur i fyny yr ystôr arianol ag oedd yn angenrheidiol i dalu y corff, anfonwyd gorchymyn yn ol cymhelliad Seneca gan Nero at y rhaglaw Rhufeinig i gymeryd meddiant o'r holl demlau, castellydd, a'r llysoedd cyhoeddus ag oeddynt yn perthynu i'r dalaeth. Cyflawnwyd y gorchymyn hwn mewn modd llymdost—anfonwyd llu Rhufeinig i gymeryd Castor, gerllaw Norwich, a gosodwyd gwarchluoedd yn y caerfeydd israddol. Ym mhen ychydig fisoedd ar ol y mesurau pennodol hyn, a thra yr ydoedd yr Iceniaid eto yn gloesi o dan y teimlad o ddiraddiad, bu farw y brenin Prasutagus, gan adael Nero, yn ol ei ewyllys, yn gyd-etifedd â'i ddwy ferch ar ei drysorau casgledig. O dan y rhithesgus fod yr holl gasglfa freninol hon yn dyfod dan y cyfenwad o eiddo gwladol, aeth Caius Decius ym mlaen i gymeryd meddiant o honi. Gan i wrthwynebiad gael ei wneuthur, rhuthrodd y llengwyr i mewn i'r llys, a chyflawnasant y treisiadau mwyaf anifeilaidd ar bersonau y Frenines Buddug a'i dwy ferch, a chludasant ymaith y trysorau i'r castell. Heb fod yn foddlon ar y cyflawniad o'r creulonderau hyn, rhoddodd Decius allan gyhoeddeb er atafaelu etifeddiaethau llawer o'r pendefigion Icenaidd, yr hyn oedd yn doriad uniongyrchol ar gytundeb Claudius. Ar yr un pryd ag yr anfonwyd gorchymynion i Decius, derbyniodd Suetonius Paulinus, yr hwn oedd yn gorsafu yr amser hwnw yn St. Alban, gyfarwyddiadau i lwyr ddystrywio Derwyddiaeth â'r cleddyf er gwaethaf pob enbydrwydd; a chyda'r bwriad hwn mewn golwg, i wneuthur trais-ymgyrch i Fôn, ei phrif eisteddle yng Nghymru. Yr oedd yr yspryd o wladgarwch anmhlygiedig, yr hwn ym mhob oes ac yn erbyn pob trais-oresgynydd ydoedd yn gwahannodi mor ardderchog Urdd Farddol Prydain, yn drosedd anfaddeuol yng ngolwg ymherodraeth yr hon yr oedd ei thrachwant anniwalladwy am uchafiant tiriogaethol yn peri iddi gamgyhuddo lle nad allai orchfygu, ac arbed yn unig lle y gallai ddirmygu yn ddyogel. Cyflawnwyd y gorchymynion hyny gyda chreulondeb perffaith yn gyson â chymeriad y gwasanaeth Rhufeinig. Drwy ymdeithiau egniol y naill ar ol y llall cyrhaeddodd Suetonius gulfor Menai. Yma ar bob ochr iddo yr ymledai monwentydd y grefydd henafol. Yma yr hunai, rhwng gwarchgloddiau derchafol yr Eryri a thônau gleision môr diderfyn ac anchwiliadol, ar làn bellaf yr

yr hon oedd yn adnabyddus y pryd hyny yn unig megis "y ffordd—ffordd Duw," i'w gwledydd gwahanredol. Darfu yr erledigaeth hon o eiddo Saul, drwy wasgaru Cristionogion Judea, achosi ail ledaeniad mawr ar yr Efengyl. Ym mhlith eraill a yrwyd fel hyn i wledydd tramor yr oedd Joseph o Arimathea. Efe, ynghyda Mair Magdalen, a Lazarus, yn erbyn yr hwn y coleddai yr Iuddewon ddigasedd anniffoddadwy, Mair, a Martha, chwiorydd Lazarus, ynghyda'u llawforwynig Mersilla, a gludwyd allan i'r môr ac a drosglwyddwyd, mewn llestr heb na rhwyf na hwyl, i drugaredd yr elfenau. Ar ol dyoddefiadau ofnadwy cawsant eu taflu i'r lân yn agos i Massilia (Marseilles,) yn neheubarth Ffraingc. Cafodd Joseph fodd i ddal cymundeb o'r ddinas hon â'i deulu a'i gyfeillion ym Mhalestina. Ymunodd deugain o honynt ag ef, unarddeg o ba rai oeddynt ei berthynasau ef ei hun; a daeth Philip yr apostol gyda hwynt. Ar ol bod yn pregethu yr Efengyl am ddeuddeng mis yn Gâl, gwahoddwyd Joseph a'i frawdoliaeth gan ryw Dderwyddon Brutanaidd enwog ag oeddynt wedi bod ym mhlith ei wrandawyr, i ddyfod i Brydain. Cawsant dderbyniad croesawus gan Gweirydd, a gosodwyd hwy dan nawdd un o dri Chôr Derwyddol y deyrnas, yn Ynys Afallon. Yma y gosodwyd i lawr sylfaen yr Eglwys Gristionogol gyntaf ag sydd ar gôf, yn driugain troedfedd mewn hŷd, ac yn chwech-arhugain mewn llêd, yn cael ei hadeiladu yn ol yr arddull Gâlaidd o golofnau coed, wedi eu cysylltu gan resau dyblyg o blethwaith crŷf o wiail. Daeth yr eglwys hon yn ganolfa llawer o adeiladau ardderchog a godwyd goruwch ei nen iselaidd. Gelwid hi am rai cenedlaethau wrth yr enwad hwnw yn unig, sef "trigfa Duw—tŷ Dduw—dirgelfa Duw." Wedi hyny adnabyddid hi wrth yr enwad "mam yr Eglwysi—gogoniant Prydain—gorphwysle yr Apostolion." Cafodd yr ynys ar ba un yr adeiladwyd hi naill ai oddiwrth loywder y ffynnonau ag oeddynt mor lluosog ynddi neu o herwydd y dywedid fod Joseph wedi dwyn gydag ef y llestr grisialaidd yn yr hwn y derbyniodd Sant Ioan ag ef ei hun y dwfr a'r gwaed a lifodd ar y groes o galon ein Hialchawdwr Bendigedig mewn canlyniad i drywaniad gwaywffon hir y Canwriad,—ei galw yn Ynys Wydrin, yr hyn a gyfieithwyd gan y Saeson mewn amserau dylynol yn Glaston, a Glastonbury. Da genym allu ychwanegu fod rhwysg hon, mam-eglwys Prydain, fel eg-

Dover a Calais yn orlawn o waed, a phan oedd y llanw yn treio, gwelid ar y tywod yn rhesau hirion arluniau o gyrff fel wedi eu gosod allan yn barod i'w claddu. Mewn gwirionedd nid oedd cyflafan Menai wedi brawychu dim llai ar gydwybodau y rhai a'i cyflawnasent nag ydoedd wedi cynhyrfu tu hwnt i bob rheolaeth ffyrnigrwydd crefyddol y boblogaeth Frutanaidd. Rhagfynegai y Duwdod, medd Dion Cassius, drwy yr argoelion hyn ac eraill, fawredd yr anffodion trwmfygythiol. Yr oedd y rhyfel yn ddiau ar bob ochr wedi ei hynodi gan yr holl greulonderau ag sydd erioed wedi nodweddu crwysgadau crefyddol. Ymgynullodd y fyddin Frutanaidd yng Nghaer Llyr, o dan lywyddiaeth Venusius, ac annerchwyd hi gan Buddug yn bersonol. Mae y darluniad a roddir o berson y Frenines, gan Dion, yn hynod iawn o ddyddorol:—"Esgynodd Buddug i areithfa y cadfridog: o ran maintiolaeth yr oedd hi o'r taldra mwyaf—ei hymddangosiad yn arswydus—ei golwg yn dawel a hunan-feddianol—ei llais yn grŷf a sarug. Yr oedd ei gwallt yn hongian i lawr yn gudynau euraidd hirion, cyn ised a'i chluniau, ac wedi eu crynhoi ynghyd o amgylch ei thalcen gan goronig aur. Yr oedd mewn gwisg Dartaraidd wedi ei gwneuthur yn dŷn am ei mynwes, ond islaw ei gwasg yn agor yn ddyblygion rhydd fel gŵn. Dros y wisg hon yr oedd ganddi fantell neu gôb filwraidd. Dyna oedd ei gwisgoedd arferol—ond ar yr achlysur hwn yr oedd hefyd yn cludo gwaywffon. Yng nghyflwyniad ei gweddi at Andraste, duwies buddugoliaeth y Prydeiniaid, cawn feddylddrych teg o yspryd a rhediad ei haraeth.—

"Yr wyf yn diolch i ti,—yr wyf yn dy addoli di,—yr wyf yn apelio atat ti, O Andraste! fel merch at ferch. Nid wyf fi yn llywodraethu fel Nitocris ar byn-feirch, megis y mae cenedloedd merchedaidd y Dwyrain, nac ychwaith fel Semiramis ar gelfyddydwyr a thrafnidwyr fel yr Aiphtiaid, nac fel y dynferch Nero, ar gaethion ac eunuchiaid,—dyna y cyfryw lenyddiaeth werthfawr y dymunai y Rhufeiniaid hyn ei dwyn i mewn i'n plith; ond yr wyf fi yn llywodraethu ar Frutaniaid, yn meddu ond ychydig fedr yn ddiau mewn celfyddyd a gwleidiadaeth, ond wedi eu geni a'u dysgu yn y gamp o ryfela—dynion y rhai yn achos rhyddid ydynt yn barod i roddi i lawr eu bywydau, a bywydau eu gwragedd a'u plant, ynghyda eu tiroedd a'u heiddo. Fel Brenines y fath genedl, yr wyf yn erfyn dy gynorthwy er ennill rhyddid —er cael goruchafiaeth ar elynion cywilyddus o ran trythyllwch y camweddau a gyflawnant, eu gŵyrdroad o gyfiawnder, eu diystyrwch o grefydd, ac am eu rhaib gorwancus; pobl hefyd ag sydd yn gloddestu mewn moethau annynol, y rhai nis gallant fyw heb ddysgleidiau glythinebus, na chysgu ond ar welyau o fânblu—cariad pa rai sydd i'w ofni a'i ffieiddio yn fwy na'u rhyfeloedd. Na fydded i ti byth adael i unrhyw estron lywodraethu arnaf fi nac ar fy nghydwladwyr hyn! Na fydded i ti byth adael i gaethiwed deyrnasu

yn yr Ynys hon—cartref priodol caethiwed yw Rhufain Bydd di yn unig, ac am byth, O dduwies dynoldeb a buddugoliaeth, yn bonadur a brenines Prydain."

Cymerwyd Caer Col ar y rhuthr cyntaf gan y fyddin Frutanaidd. Ond y deml yn yr hon yr oedd gwarchodlu o'r hen filwyr a ddaliodd allan am ddau ddiwrnod, ac yna cyfranogodd o'r un dynged. Gorchfygwyd Petilius Cerealis, yr is-gadben Rhufeinig, gyda cholled am y 9fed lleng i gyd, wrth fryn Cogges (Cocci Collis). Ond Cerealis ei hun ynghyd ag ychydig o feirch-filwyr a ddiangasant i'r gwersyll. Ymosodwyd ar dref fwrdeisiol Verulam yn yr un modd —drylliwyd a llosgwyd hi. Yn ystod absenoldeb hirfaith Gweirydd yn y Gorllewin, pallodd Llundain unwaith yn rhagor yn ei ffyddlondeb i'r llywodraeth, gan dderbyn gwarchodlu Rhufeinig o fewn ei muriau, dan yr enw trefedigaeth. Yr oedd ei thrafnidiaeth y pryd hyn gymaint fel ag yr oedd y dinaswyr Rhufeinig yn unig ag oedd yn trigianu ynddi yn cael eu cyfrif yn 50,000 o nifer. Pe cyfrifem y rhai hyn mor uchel a bod yn chwechfed ran o'i holl boblogaeth, byddai genym gadarnhad cryf a didwyll o'r henafiaeth ddirfawr a briodolir gan haneswyr Prydain i sylfaeniad a gorwychder, y brif-ddinas Frutanaidd. Yn ei herbyn hi, y fyddin Frutanaidd ag oedd weithian wedi ymchwyddo i 230,000 o wyr, a gyfeiriodd ei dialedd Y cyfryw o'r trigolion a feddent y gallu, a ffoisant ar ei dynesiant; a'r cyfan eraill, yn cynnwys y dinaswyr Rhufeinig a'r marsiandwyr tramor, a gymerasant noddfa gyda'r gwarchodlu o fewn yr amgaerau a ymestynent oddiwrth deml Diana at y Bryn Gwyn. Dringwyd i ben yr amgaerau—rhoddwyd y ddinas ar dân mewn pedwar o wahanol gyrau, nes gwneuthur yr adeiladau cyhoeddus a'r tai neillduol yn lludw fel eu gilydd. "Nid oedd arbediad bywyd na phridwerth," medd Tacitus, "yn cael eu rhoddi na'u cymeryd gan y naill blaid na'r llall yn y rhyfel yma." Mae yn anhawdd dychymygu faint o fywydau a aberthwyd yn y weithred hon o gyfiawnder gwladol. Y mae Tacitus yn lled arwyddo fod cyn yr ymladdfa gyda Paulinus, fwy na 70,000 o Rufeiniaid wedi cwympo naill ai mewn gwarchleoedd neu ar y maes. Mae yn deilwng o sylw, mai yr unig dro yr anrheithiwyd ac y dystrywiwyd Llundain, a fu, nid gan elyn tramor, ond gan Frenines Frutanaidd a byddin Frutanaidd, yn ymweled â hi gyda chospedigaeth haedd-

ianol am ei brad-ddichell i foddio gormeswr estronol. Ymddengys nad yw y wers byth wedi cael ei hanghofio; canys ei dinaswyr a fuont bob amser er y pryd hwnw y rhai cyntaf i wrthdaro yn erbyn ymosodiadau cyhoeddus neu ddylanwadau cyfrwysddrwg galluoedd tramor. Gan adael o'i hôl yr esiampl ofnadwy hon o brif-ddinas yn mudlosgi mewn lludw, a ddiffoddid gan waed ei thrigolion, ymysgubodd Buddug gyda'i lluoedd tua'r gorllewin. Nid yw Tacitus yn cofnodi ond dwy, tra y mae Dion yn cofnodi llawer o frwydrau wedi bod rhyngddi hi a'r cadfridog Rhufeinig. Mae ei chyfenwad yn y croniclau Brutanaidd, sef, Buddug, yn arwyddo mai nid mewn ychydig o'r rhai hyn y dylynodd llwyddiant ei harfau. Mae Tacitus yn pennodi lle y frwydr ddiweddaf yn ymyl Coedwig Epping; ond yr hanesydd Groegaidd a thraddodiadau Prydain, a ddywedant mai ar y ffordd Wyddelig, yn agos i *Newmarket*, yn swydd Callestr y bu. Mae yr amrywiol enwau ar y sefyllfa ddiweddaf hon yn egluro mor gywir ddygwyddiadau y frwydr fel y gallwn o'r bron feddwl fod Dion Cassius wedi chwilio'r tir cyn ysgrifenu ei ddarluniad. Ceir yma "Cop Paulinus"—"Bryn y Saethau"—"Bryn y Lladdfa"—"Pant y Gwae"—"Braich y Dadleu"—"Pwll y Crogwyn"—"Coetia yr Orsedd"—"Pant Erwin." O fewn hanner milldir o ffordd oddi yma y ceir y garreg goffawdwriaethol a elwir "Maen Achwynfan;" ac yr oedd ar y ffordd i Gaerwys gynt, ond y mae hi yn awr wedi ei symud i Downing, "Garreg Bedd Buddug." Pan yn troi at hanesiaeth Dion, yr ydym yn cael y frwydr wedi bod yn union y peth y mae yr enwau hyn yn ei ddatgan ac yn ei fytholi—yn ymladdfa derfysglyd angeuol o drwmarfog lengwyr, lluoedd cynnorthwyol, saethyddion, meirch-filwyr, a cherbyd-filwyr, yn gymysgedig â'u gilydd ac yn ymrwysgo yn ol ac ym mlaen yn holl rediadau nwydwyllt ymladdfa ffyrnig dros holl eangder y tir.

Tua machlud haul troai llwyddiant y dydd o ochr y Rhufeiniaid. Cilgwthiwyd y Prydeiniaid yn ol o fewn eu gwarchgloddiau, gan adael nifer mawr yn feirwon ar y maes neu yn garcharorion yn nwylaw y gelyn. Enciliodd y lleill mewn trefn reolaidd gan barotoi eu hunain yn fuan gwedyn er adnewyddu yr ymladdfa. Yn y cyfamser, both bynag, bu farw Buddug; yn ol hanesiaeth Tacitus, drwy wenwyn—ond yn ol yr hyn a ddywed Dion, wrth gwrs natur. Claddwyd hi gyda gorwychder traulgar.

Nid effeithiodd marwolaeth Buddug ond ychydig ar adnoddau ac yspryd Cymry y Gorllewin. Dygid y rhyfel ym mlaen gydag egni diorphwys dan lywyddiaeth Gweirydd, Venusius, a Gwallog ap Lleenog, Tywysog Brython Ystrad Clwyd. Yr oedd enw Gweirydd wedi cyrhaedd hynodrwydd yn Rhufain cyfartal i enw ei gefnder Caradog, ac ni allai Juvenal grybwyll unrhyw newydd a fuasai yn cael ei dderbyn gyda mwy o foddlonrwydd gwresog na'r newydd am gwymp y Pendragon anorchfygol hwn.

> "A gwympodd Gweirydd, y cerbydawl gawr,
> Y teyrn Prydeinig, ac ein golyn mawr,
> O uchder ei filwrol sedd i lawr?"

"*Ferox Provincia*" "talaeth fileinig," yw yr enw a ddefnyddir gan yr haneswyr Lladinaidd am ein Hynys yn yr amser hwn—yr Esyllwyr yn neillduol, medd Tacitus, "nid ellid mo'u gorfodi drwy unrhyw fesurau, pa mor greulawn bynag, na'u dobrwyo drwy unrhyw addewidion, pa mor ardderchog bynag, i gydnabod arglwyddiaeth Rhufain." Wedi ei lethu gan yr un helbulon ag a ddadsylfaenasant gyfansoddiad Ostorius Scapula, rhoddodd Paulinus ei swydd i fyny ar ddiwedd y flwyddyn o.c. 60, yn ffafr Petronius Turpilianus. Yr oedd yr holl ymherodraeth Rufeinig ym mhobman arall yn mwynhau tawelwch, oddieithr Syria yn unig,—terfysgoedd yr hon a heddychwyd yr un flwyddyn gan Corbulo. Mae yn deilwng o sylw pa ymherawdwr bynag a fyddai ar yr orsedd, ni bu yr ymherodraeth ei hun erioed yn ddiffygiol o wladweinyddwyr a chadfridogion ym meddu y radd uchaf o gymhwysder. Yr oedd athrylith y byd, o'r Euphrates i Gibraltar, ac o Calais i'r Zahara, wrth ei galwad, yn barod i'w defnyddio gyda bwriad anmhlygiedig er cydgorffori Prydain.

Yn o.c. 64, yr oedd diddymiad Derwyddiaeth yn y tiriogaethau ar dueddau Deheuol yr afon Tafwys, ac yn eiddo y Coritaniaid a'r Iceniaid, wedi cael ei gwblhau gan Turpilianus. Yn yr un flwyddyn y bu yr erledigaeth gyntaf gan Nero yn erbyn y Cristionogion.

Yn o.c. 65, dylynwyd Turpilianus yn ei swydd gan Trebellius Maximus. Dan ei lywyddiaeth ef symudodd y terfynau Rhufeinig yn ol i'r dalaeth rhwng Dyfnaint a Dover. Galwyd Maximus yn ol, a phennodwyd Vectius Bolanus yn ei le, ond nid gyda mwy o lwyddiant.

Yn o.c. 66, cysegrwyd Linus, ail fab Caradog, gan St. Paul, yn Esgob Rhufain.

Yn o.c. 67, merthyrwyd St. Paul a St. Pedr yn Rhufain; claddwyd St. Paul yn y ffordd Ostianaidd. Ymhen blynyddau wedi hyny claddwyd pedwar plentyn Claudia wrth ei ochr ef.

Ym Mehefin, o.c. 68, dylynwyd Nero i'r orsedd gan Galba.

Bu "blwyddyn y chwyldroadau" (o.c. 69,) yn hir mewn coffadwriaeth o herwydd y cyfnewidiadau disymwth a gymerasant le yn y meddianiad o'r orsedd ymherodrol. Canys dylynwyd Galba gan Otho—Otho gan Vitellius—a Vitellius gan Vespasian.

Yn y flwyddyn o.c. 70, cymerwyd Jerusalem gan Titus a dinystriwyd hi i'r llawr; pryd y lladdwyd 1,100,000 o Iuddewon yn y gwarchae, neu y buont feirw o newyn. Cytunodd Petilius Cerealis ar seibiant o heddwch gyda Gweirydd, heb ganddo un dyben arall mewn golwg, mae'n debyg, heblaw galluogi Vespasian i ymffrostio fod teml Janus wedi ei chau am y chweched tro er amser sylfaeniad Rhufain, yn y flwyddyn o.c. 753, yr hyn sydd ddeongliad galarus ar hanesiaeth dyn a'i ymherodraethau!

Cerealis a'i olynydd Iwl Frontinus a ail ddygasant ym mlaen y banerau Rhufeinig cyn belled a'r afon Hymyr, gan ddarparu y ffordd fel hyn i lwyddiant y galluocaf o'r lluaws cadfridogion galluog ag oeddynt weithian dros saith-a'r-hugain o flyneddoedd wedi bod yn llywio y rhyfel ym Mhrydain—sef Iwl Agricola. Am hanes rhyfelgyrchoedd Agricola rhaid i ni gyfeirio at dudalenau ei fab-yng-nghyfraith a'i folianwr, sef Caius Cornelius Tacitus. Rhaid i grynodeb byr o honynt wneyd y tro yma.

Dygwyd ym mlaen ei ryfelgyrch cyntaf drwy ystod tymor cynhauaf y flwyddyn o.c. 78, a hynodwyd ef drwy fuddugoliaeth bendant a gafodd yn agos i Fwlch Agricola, yn Nyffryn Clwyd, ar y Gwyneddwyr, sef pobl Gogledd-barth Cymru. Yn y flwyddyn hon dyoddefodd Linus ferthyrdod yn Rhufain, a dylynwyd ef yn yr esgobaeth gan Cletus, neu Anacletus. Dylai y darllenydd gadw yn ofalus yn ei feddwl nad oedd eglwys gysefin Rhufain yn dwyn ond tebygoliaeth bychan iawn i'r gyfundrefn a sefydlwyd ar ei llygredigaeth yn y seithfed ganrif ac a adnabyddir yn awr fel y Babaeth. Nid oedd yr eglwys Rufeinig Gysefin yn hònni unrhyw ymddidoledigaeth nac uchafiaeth. Cynnelid hi am

dri chant o flynyddoedd drwy roddion gwirfoddol, yn benaf oddiwrth deulu breninol Prydain. Yr oedd ei hesgobion boreuaf yn ddynion o elusengarwch a gwroldeb diffuant ond heb fod yn nodedig am eu dealldwriaeth uchel. Rhufain Babaidd i raddau mawr ydoedd yr eglwys hon wedi ymlithro a'i hail-baganeiddio ar ol symudiad yr eisteddle ymherodrol gan Gystenyn i Gonstantinopl ar egwyddor wleidiadol yr hên ymherodraeth genhedlig—y prif wahaniaeth ydoedd fod offeiriadaeth anmhrïod yn lle byddin anmhrïod wedi cael ei gwneuthur yn offeryn er lledaenu a chyfuno ei hymerodraeth. Ni chafodd Rhufain Babaidd erioed ei chydnabod gan Eglwys Prydain a elwir yn briodol felly.

Ail ryfelgyrch Agricola a gymerodd i fyny y flwyddyn 79, a dygwyd ef ym mlaen yn erbyn y Brigiantwys, sef y dalaeth rhwng yr afon Hymyr a'r Tyne. Yr oedd amddiffynfeydd y Brigiantwys yn glodfawr am eu cryfder a'u harddwch.

Y trydydd rhyfelgyrch a gludodd ei arfau, yn y flwyddyn o.c. 80, hyd fôr-nant y Tay.

Yn y pedwerydd, o.c. 81, gwnaed rhes o gaerfeydd gwedi eu cysylltu ynghyd gan warchglawdd crŷf o Gaer Edin i Dunbriton.

Yn y pumed, o.c. 82, efe a ruthrodd dros Orllewin-barth yr Alban o ymyl y Clyde i Inverness.

Yn y chweched, o.c. 83, ymladdodd frwydr anmhenderfynol gyda Gwallog, i'r hwn y rhoddasid yr arlywyddiaeth yn y Gogledd, gan Gweirydd, ag oedd y pryd hyn yn analluog i'r gwasanaeth oherwydd ei oedran. Enciliodd Gwallog y flwyddyn ganlynol i diriogaethau y Pictiaid Cymreig—cadarnfa Derwyddiaeth yn y Gogledd; yr oedd eu tiriogaethau heirdd o amgylch Perth wedi eu taenu drostynt gan demlau a chôf-golofnau praffus. Mae Gwallog yn cael ei goffâu yn y Trioedd fel un o "dri Phost Cad Ynys Prydain;" ac ymddengys ei drefniadau yn y frwydr ddylynol, a ddarlunir gan Tacitus, fel yn cyfiawnhau y ganmoliaeth. Ymladdwyd hi ar gorswaun yr hon sydd eto yn dwyn yr enw Galgachan rhôs, yn Strathern, wrth odre y Bryniau Grampiaidd. Dywedir fod y golled Frutanaidd yn 10,000 o wyr wedi eu gadael yn feirwon ar y maes. Er hyny, pallodd y gorchfygiad yma, fel llawer eraill o'i flaen a marweiddio y genedl; ac er fod Agricola wedi gwth-

io ym mlaen y fantais a gafodd gyda'i gyflymder arferol, a'i lynges wedi cylchfordwyo yr Alban, eto ni bu ymataliad y rhyfel ond o fyr barhad.

Yn y flwyddyn o.c. 85, cafodd Agricola ei alw yn ol gan y gormesdeyrn drwg-dybus, Domitian—a phennodwyd Sallustius Lucullus, dyfeisiwr rhyw welliantau ar y waeywffon Rufeinig, yn ei le. Cymerodd y fyddin gyngrheiriol a ailgyflunwyd gan Gweirydd yn cynnwys y Cymry, y Pictiaid Cymreig, Caledoniaid Gorllewinbarth yr Alban, a'r Brigiantwys, y maes o newydd ar ei ddychweliad. "Prydain," medd Tacitus, "yr hon a ystyrid fel wedi ei gorchfygu o'r diwedd yn effeithiol, a gollwyd mewn eiliad." Ceid fod yn anmhosibl, medd awdwyr yr hanesion Augustaidd, i allu cadw y Brutaniaid o dan arglwyddiaeth Rufeinig. Yr oedd holl oresgyniadau Agricola, a brynasid drwy y fath draul fawr o waed, gwladlywiad, a thrysor, wedi myned yn ofer i'r ymherodraeth. Wedi gorchfygu Lucullus yn y Gorllewin a'r Gogledd, nis gallai gynyg un gwrthwynebiad diysgog i ymdaith yr hen Bendragon buddugoliaethus. Gwarchgloddiau Plautius, tu ol i ba rai yr oedd Lucullus wedi encilio, a gymerwyd drwy ruthr; croeswyd y Tafwys, ac ailfeddianwyd Llundain.

Yn o.c, 86, ar ol tair blynedd-a'r-ddeg-a'r-hugain o ryfel, a thros driugain o frwydrau pennodol ar y maes, ymlidiwyd y Rhufeiniaid o'u diogelfeydd diweddaf yng Nghaint. Fel hyn terfynodd traisymgyrch Gloew wedi pallu mor hynodol ag eiddo Iwl yn yr amcan mewn golwg, sef goresgyn tiriogaeth Prydain. Rhoddwyd terfyn drwy heddwch buddugoliaethus ar yr ymdrech wronol a wnaed yn erbyn gorfanteision dirif gan y gwladogion Brutanaidd a arweinid gan restr olynol o gadfridogion gwladgarol. Ac ni choronwyd neb mwy teilwng o lawryf tragwyddol na hwynt gan awen hanesyddiaeth.

Neratius Marcellus yw yr unig enw Rhufeinig a ddygwydd mewn hanes am y deg-a'r-hugain mlynedd canlynol mewn cysylltiad â'r Ynys. Cafodd yr holl gofarwyddion a'r arsgrifenau Rhufeinig eu dystrywio a'u dileu mor llwyr drwy orchymyn Gweirydd fel mai yn ofer y chwiliwn am ôlion o honynt cyn y flwyddyn o.c. 120, sef deunaw-a'r-hugain o flynyddoedd ar ol yr adennilliad hwn o Brydain. Yr arsgrifen yn Caer Cei am Cogidunus a briodolir i Pudens, fel gwr Claudia, yn hytrach nag fel swyddog Rhuf-

einig. "Am ddeugain mlynedd," yn iaith yr Ysgrythyr, "cafodd y wlad lonyddwch oddiwrth ei holl elynion oddiamgylch."

Yn o.c. 89, Gweirydd, yr hwn yn ddiau ydoedd gadfridog penaf ei oes, ac i'r hwn nid ellir cydmaru neb ond Washington, o barth holl rinweddau anhunangar milwr gwladgarol, a fu farw yng nghanol gofid y bobl, er cadw rhyddfreiniau pa rai y bu efe o gymmaint gwasanaeth. Olynwyd ef i'r orsedd gan ei fab Meuryg.

Yn o.c. 90, bu farw Joseph o Arimathea yng nghysegr heddychol Ty ei Dduw, yn Afallon. Mae traddodiad gyda hoffder cysegredig wedi cadw ar gôf y beddargraff syml a arsgrifenwyd ar ei feddrod—sef "Ar ol i mi gladdu Iesu Grist, mi a ddeuais at y Brutaniad; dysgais hwynt, a gorphwysais."

Ni hynodwyd teyrnasiad Meuryg ond gydag ychydig ddygwyddiadau o bwys. Rhodri brenin o Llychlyn, pan yn gwneuthur ymgyrch yn erbyn yr Alban, a orchfygwyd ganddo ef wrth Gaer Leil. Sefydlodd Meuryg y carcharorion lluosog Llychlynaidd yn Caithness (penrhyn y caethwas), lle mae eu hiliogaeth eto yn dangos llawer o'u nodebau naturiol ac ieithyddol.

Yn 114, gorphenodd Meuryg wneuthur y cytundeb â Trajan, drwy yr hwn y cydsyniodd Prydain o'r diwedd ar delerau pennodol i ddyfod yn rhan gyfunol o'r ymherodraeth Rufeinig. Y rhai penaf o'r telerau hyn oeddynt, ar fod i'r Brutaniaid gael parhau dan lywyddiaeth eu Breninoedd brodorol a'u cyfreithiau eu hunain. Fod y gyfraith Rufeinig i gael ei chyfyngu i'r cyfryw ddinasoedd a ddewisent ddyfod yn gorfforaethau neu drefedigaethau. Na byddai un Prydeiniwr gael ei aflonyddu yn ei diriogaethau etifeddol; a bod y tair lleng Rhufeinig oeddynt i gael eu sefydlu yn Nghaer Ludd, Caerlleon a Chaer Efrog, i gael eu codi i gyd o wirfoddiaid Brutanaidd, a byth gael eu gyru ar wasanaeth tramor. Am hyn, ymrwymai Prydain i drethu ei hun i'r swm blynyddol o dair mil o bwysau o arian, fel ei chyfroddiad at gynnal cyfundrefn gyffredinol yr ymherodraeth, ac i osod ei lluoedd o dan swyddogion a bennodid gan yr ymherawdwr. Mewn cyfeiriad at y cytundeb pwysig hwn, mae Arglwydd Prif Farnydd Fortescue yn sylwi fel hyn—"Yn amser yr holl wahanol genedloedd a breninoedd a fuont *yn llywodraethu* Prydain, y mae hi bob amser wedi

Caradog, a'r aelodau eraill o deulu breninol Esyllwg eu dychwelyd a'u bedyddio ganddo ef.

O'r amser hwn daeth y "Titulus" yn gartref i St. Paul a'r apostolion eraill pa bryd bynag yr ymwelent â Rhufain. Dygwyd i fyny blant Gwladys, y soniwyd am danynt uchod, yn llythyrenol ar eu gliniau. Hermas, yr hwn a elwid "Bugail," oddiwrth waith o'i eiddo a gyfenwid felly, a urddwyd yn weinidog cyntaf i'r Cristionogion a ymgynullent er mawl a gweddi yn y tŷ hwn. Yn o.c. 59 cafodd Aristobulus, brawd St. Barnabas, a thad yng-ngyfraith St. Pedr, ei urddo gan St Paul yn Esgob cyntaf y Prydeiniaid, a gadawodd Rhufain gyda Brân, Caradog, a'r teulu breninol i fyned i Esyllwg. Aeth dau o gennadau eraill gydag ef, sef, Ilid a Cyndaf, "gwyr o Israel," megys y cyfenwir hwynt yn âchau Cymreig y saint cyntefig. Y mae Brân ei hun o herwydd yr ail arwedd yma yn y gwaith o ddwyn Cristionogaeth i mewn i Brydain, yn cael ei adnabod fel un o "Fenwedigion Teyrnedd" yr ynys, a chysylltir y cyfenw *Bendigaid* yn gyffredin wrth ei enw. Y flwyddyn ganlynol ymwelodd St. Paul ei hun â'i ddychweledigion breninol ym Mhrydain, ac ar ol aros yma am rai misoedd dychwelodd gyda Gwladys Pudens, a Linus, yn ol i'r Cyfandir. Yn o.c. 67, ar ol ei ail garchariad yn Rhufain, ac ar y prydnawn cyn ei ddienyddiad, efe a ysgrifenodd o dŷ Gwladys ei epistol ymadawol at Timotheus yn Creta. Yr unig annerchiadau ynddo yw y rhai hyny o barth teulu gwladgarwr mawr Prydain—sef, Pudens, Linus, Eubulus, a Chlaudia, y rhai fel hyn, yn ffyrdd anchwiliadwy yr Hollalluog a dderchafwyd, drwy y brofedigaeth danllyd o anffodion gwladwriaethol, a darostyngiad teuluaidd, i weinyddu yn oriau olaf Apostol a sylfaenydd yng Nghrist yr Eglwys Genhedlig. Nid oes un cymeriad hawddgarach yn cael ei gynnyg i'n sylw yn nalenau hanesiaeth nag eiddo y famaeth Frutanaidd uchelryw yn gweinyddu fel hyn i "Paul yr hynafgwr" yn ystod yr amser rhwng "aberthiad ei gorff" a derbyniad y "goron cyfiawnder a roddwyd i'w chadw iddo ef"; nac un engraifft mwy hynod o'r modd y mae Duw, yr hwn sydd yn dwyn daioni allan o ddrygioni, yn goruwch lywodraethu adfydion tymorol fel ag i fod yn offerynau iechydwriaeth dragwyddol. Mae dygiad yr Efengyl i mewn i Brydain yn uniongyrchol o darddellau Apostolaidd a than y nawdd wladol uchelaf yn y deyrnas,

i'w olrhain at drychineb, yr hwn oedd ar y pryd yn ymddangos nid yn unig yn anadferadwy ond fel yn milwrio yn erbyn cyfiawnder y nefoedd yn llywodraethiad cenhedloedd.

Yn o.c. 53, Medi 28ain, ar farwolaeth Claudius daeth Nero ar ei ol i'r orsedd. Bu am ryw gymaint o amser dan ddylanwad Seneca, yr hwn oedd athronydd Stoicaidd mewn proffes, ond mewn ymarferiad yn arolygwr gormeslyd. Yr oedd cyfalaf (*Capital*) y dyn hwn yn y cyfanswm yn agos i bymtheg myrddiwn o'n harian ni. Efe a roddodd allan ar lôg ddwy fyrddiwn o'r rhai hyn i'r Iceniaid Brutanaidd, ar ddyogelwch eu hadeiladau cyhoeddus, yr hon yw yr engraifft gyntaf o fenthyciad gwladol ar gôf. Brenin yr Iceniaid oedd Prasutagus—a Buddug oedd ei Frenines. Yr oedd cyfoeth Prasutagus mewn sylw tra nodedig yn Rhufain.

Yr oedd Gweirydd yn y cyfamser wedi cael ei ethol yn olynydd i Caradog fel Pendragon. Gorchfygwyd Ostorius ganddo ef yng Nghaer Beli, yn agos i Gaerlleon-ar-Wysg. Wedi diffygio yn hollol o ran corff a meddwl drwy anhawsderau cynyddol ei sefyllfa, rhoddodd Ostorius yn fuan wedi hyny y gadlywyddiaeth i fyny i Didius Gallus—a Gallus i Veranius; ond ni phrofodd y naill na'r llall eu hunain yn gyfartal i'r gwaith o ymladd â'r penadur Brutanaidd. Gyrwyd y byddinoedd Rhufeinig tu ol i warchgłoddiau Plautus. Bwriwyd Veranius allan o'i swydd a phennodwyd Suetonius Paulinus yn ei le—yr hwn oedd gadfridog o reddf tra gwahanol, ac ym mhlith is-swyddogion galluog eraill yr oedd Iwl Agricola ganddo dan ei lywyddiaeth.

Yn o.c. 57, gan fod Pomponia Grecina wedi cael ei chyhuddo yn gyhoeddus o'r drosedd o ddylyn Cristionogaeth, yr hyn dan y gyfraith Rufeinig a drinid fel teyrn-fradwriaeth, erlynwyd hi drwy orchymyn yr ymherawdwr Nero, "yn ol rhyw hên ddeddf"—sef, ger bron cwrt o'i pherthynasau, yn cael ei arlywyddu gan ei gwr. Ond cyhoeddwyd hi yn ddieuog o'r holl gyhuddiadau a osodent ei bywyd neu ei hanrhydedd mewn enbydrwydd.

Yn o.c. 60, ychwanegwyd rhyfel Buddug yn Nwyreinbarth Prydain at y rhyfel a ddygid ym mlaen yn y Gorllewin o dan Gweirydd. Yr achos o hono ydoedd fel y canlyn:—hawliai Seneca, y cyfalafydd, heb roddi rhybudd dyladwy, ad-daledigaeth dioed o'r benthyg a roddasai ef i'r Iceniaid, ynghyda llôg mawr direswm. Ar waith y senedd Icenaidd

yn gwrthwynebu maintioli y llôg, ac yn dymuno cael amser i wneuthur i fyny yr ystôr arianol ag oedd yn angenrheidiol i dalu y corff, anfonwyd gorchymyn yn ol cymhelliad Seneca gan Nero at y rhaglaw Rhufeinig i gymeryd meddiant o'r holl demlau, castellydd, a'r llysoedd cyhoeddus ag oeddynt yn perthynu i'r dalaeth. Cyflawnwyd y gorchymyn hwn mewn modd llymdost—anfonwyd llu Rhufeinig i gymeryd Castor, gerllaw Norwich, a gosodwyd gwarchluoedd yn y caerfeydd israddol. Ym mhen ychydig fisoedd ar ol y mesurau pennodol hyn, a thra yr ydoedd yr Iceniaid eto yn gloesi o dan y teimlad o ddiraddiad, bu farw y brenin Prasutagus, gan adael Nero, yn ol ei ewyllys, yn gyd-etifedd â'i ddwy ferch ar ei drysorau casgledig. O dan y rhithesgus fod yr holl gasglfa freninol hon yn dyfod dan y cyfenwad o eiddo gwladol, aeth Caius Decius ym mlaen i gymeryd meddiant o honi. Gan i wrthwynebiad gael ei wneuthur, rhuthrodd y llengwyr i mewn i'r llys, a chyflawnasant y treisiadau mwyaf anifeilaidd ar bersonau y Freninea Buddug a'i dwy ferch, a chludasant ymaith y trysorau i'r castell. Heb fod yn foddlon ar y cyflawniad o'r creulonderau hyn, rhoddodd Decius allan gyhoeddeb er atafaelu etifeddiaethau llawer o'r pendefigion Icenaidd, yr hyn oedd yn doriad uniongyrchol ar gytundeb Claudius. Ar yr un pryd ag yr anfonwyd gorchymynion i Decius, derbyniodd Suetonius Paulinus, yr hwn oedd yn gorsafu yr amser hwnw yn St. Alban, gyfarwyddiadau i lwyr ddystrywio Derwyddiaeth â'r cleddyf er gwaethaf pob enbydrwydd; a chyda'r bwriad hwn mewn golwg, i wneuthur trais-ymgyrch i Fôn, ei phrif eisteddle yng Nghymru. Yr oedd yr yspryd o wladgarwch anmhlygiedig, yr hwn ym mhob oes ac yn erbyn pob trais-oresgynydd ydoedd yn gwahannodi mor ardderchog Urdd Farddol Prydain, yn drosedd anfaddeuol yng ngolwg ymherodraeth yr hon yr oedd ei thrachwant anniwalladwy am uchafiant tiriogaethol yn peri iddi gamgyhuddo lle nad allai orchfygu, ac arbed yn unig lle y gallai ddirmygu yn ddyogel. Cyflawnwyd y gorchymynion hyny gyda chreulondeb perffaith yn gyson â chymeriad y gwasanaeth Rhufeinig. Drwy ymdeithiau egniol y naill ar ol y llall cyrhaeddodd Suetonius gulfor Menai. Yma ar bob ochr iddo yr ymledai monwentydd y grefydd henafol. Yma yr hunai, rhwng gwarchgloddiau derchafol yr Eryri a thônau gleision môr diderfyn ac anchwiliadol, ar lân bellaf yr

gofiant. Gorchymyner i mi gael byw, a bydd i mi oroesi byth mewn hanesiaeth yn un engraifft o leiaf o dynerwch Rhufeinig."

'Yr arferiad yn yr arddangosiadau echrydus a gwaedlyd hyny o falchder Rhufeinig a elwid "Buddugoliaethau" ydoedd, fod mewn man pennodol ar y *Sacra Via* i'r breninoedd a'r cadfridogion caethus a ddylynent yn droednoeth, yn ben-noeth, ac mewn cadwynau, gerbyd buddugoliaethus eu gorchfygwr, gael eu symud o'r orymdaith, a'u taflu i'r daeargelloedd Tarpeianaidd, ac yno gael eu llindagu, tori eu penau, neu eu gadael i farw o newyn. Dedfrydid y carcharorion cyffredin i ladd y naill y llall mewn ymladdfeydd dau fywyd yn y campau cleddyfol nesaf a gymerent le, er difyrwch i'r gwerinos mwyaf diraddiol efallai a ymgasglodd erioed o fewn muriau unrhyw ddinas fawr. Y mae gwarediad Caradog yn ffurfio eithriad unigol yn y rhestr hir o aberthau a wnaed dan y wladlywiaeth anwrol a chreulawn hon. Caniateid iddo ef drigianu am saith mlynedd fel rhydd-garcharor yn Rhufain; tra cedwid Brân, ei dad oedranus a holl deulu breninol Esyllwg, yn wystlon drosto. Yr oedd ei drigfa yn y palas ar lethr un o'r saith Bryn, yr hwn a drowyd gan ei wyres Pudentiana yn Eglwys Gristionogol, y gyntaf yn Rhufain, yr hon a adnabyddid ar y dechreu dan yr enw "Titulus," ond yn awr "St. Pudentiana." Yma y priodwyd ei ferch Gwladys â Rufus Pudens, boneddwr Rhufeinig yr hwn oedd wedi bod yn llenwi sefyllfaoedd milwrol a gwladol tra uchel ym Mhrydain, ac etifeddiaethau yr hwn a orweddent yn yr Apenniniaid Umbriaidd. Deilliodd pedwar o blant o'r briodas hon, sef, St. Timotheus, St. Novatus, St. Pudentiana, a St. Praxedes. Dau o frodyr Gwladys oeddynt St. Cyllin, yr hwn a ddiweddodd ei ddyddiau ym Mhrydain, a Lleyn yr hwn a urddwyd ar ol hyny gan St. Paul yn esgob cyntaf ar eglwys genhedlig Rhufain—megys yr oedd St. Clement ar yr eglwys Hebreaidd. Mae yn debyg mai gan ei wraig y dychwelwyd Rufus Pudens at Gristionogaeth, yr hon oedd ei hun yn un o ddychweledigion y gennadiaeth Arimatheaidd, a hyny yn ddiau cyn dyfodiad cyntaf St. Paul i Rufain—canys yn ei Epistol at y Rhufeiniaid yr hwn oedd wedi ei ysgrifenu cyn y cyfryw ddyfodiad, crybwyllir am Rufus megys eisoes yn "etholedig yn yr Arglwydd." Yn o.c. 56, y daeth St. Paul i Rufain. Ac yn o.c. 57, y cafodd Bran,

Dover a Calais yn orlawn o waed, a phan oedd y llanw yn treio, gwelid ar y tywod yn rhesau hirion arluniau o gyrff fel wedi eu gosod allan yn barod i'w claddu. Mewn gwirionedd nid oedd cyflafan Menai wedi brawychu dim llai ar gydwybodau y rhai a'i cyflawnasent nag ydoedd wedi cynhyrfu tu hwnt i bob rheolaeth ffyrnigrwydd crefyddol y boblogaeth Frutanaidd. Rhagfynegai y Duwdod, medd Dion Cassius, drwy yr argoelion hyn ac eraill, fawredd yr anffodion trwmfygythiol. Yr oedd y rhyfel yn ddiau ar bob ochr wedi ei hynodi gan yr holl greulonderau ag sydd erioed wedi nodweddu crwysgadau crefyddol. Ymgynullodd y fyddin Frutanaidd yng Nghaer Llyr, o dan lywyddiaeth Venusius, ac annerchwyd hi gan Buddug yn bersonol. Mae y darluniad a roddir o berson y Frenines, gan Dion, yn hynod iawn o ddyddorol:—"Esgynodd Buddug i areithfa y cadfridog: o ran maintiolaeth yr oedd hi o'r taldra mwyaf—ei hymddangosiad yn arswydus—ei golwg yn dawel a hunan-feddianol—ei llais yn grŷf a sarug. Yr oedd ei gwallt yn hongian i lawr yn gudynau euraidd hirion, cyn ised a'i chluniau, ac wedi eu crynhoi ynghyd o amgylch ei thalcen gan goronig aur. Yr oedd mewn gwisg Dartaraidd wedi ei gwneuthur yn dŷn am ei mynwes, ond islaw ei gwasg yn agor yn ddyblygion rhydd fel gŵn. Dros y wisg hon yr oedd ganddi fantell neu gôb filwraidd. Dyna oedd ei gwisgoedd arferol—ond ar yr achlysur hwn yr oedd hefyd yn cludo gwaywffon. Yng nghyflwyniad ei gweddi at Andraste, duwies buddugoliaeth y Prydeiniaid, cawn feddylddrych teg o yspryd a rhediad ei haraeth.—

"Yr wyf yn diolch i ti,—yr wyf yn dy addoli di,—yr wyf yn apelio atat ti, O Andraste! fel merch at ferch. Nid wyf fi yn llywodraethu fel Nitocris ar byn-feirch, megis y mae cenedloedd merchedaidd y Dwyrain, nac ychwaith fel Semiramis ar gelfyddydwyr a thrafnidwyr fel yr Aiphtiaid, nac fel y dynferch Nero, ar gaethion ac eunuchiaid,—dyna y cyfryw lenyddiaeth werthfawr y dymunai y Rhufeiniaid hyn ei dwyn i mewn i'n plith; ond yr wyf fi yn llywodraethu ar Frutaniaid, yn meddu ond ychydig fedr yn ddiau mewn celfyddyd a gwleidiadaeth, ond wedi eu geni a'u dysgu yn y gamp o ryfela—dynion y rhai yn achos rhyddid ydynt yn barod i roddi i lawr eu bywydau, a bywydau eu gwragedd a'u plant, ynghyda eu tiroedd a'u heiddo. Fel Brenines y fath genedl, yr wyf yn erfyn dy gynorthwy er ennill rhyddid—er cael goruchafiaeth ar elynion cywilyddus o ran trythyllwch y camweddau a gyflawnant, eu gŵyrdroad o gyfiawnder, eu diystyrwch o grefydd, ac am eu rhaib gorwancus; pobl hefyd ag sydd yn gloddestu mewn moethau annynol, y rhai nis gallant fyw heb ddysgleidiau glythinebus, na chysgu ond ar welyau o fânblu—cariad pa rai sydd i'w ofni a'i ffieiddio yn fwy na'u rhyfeloedd. Na fydded i ti byth adael i unrhyw estron lywodraethu arnaf fi nac *ar fy nghydwladwyr hyn!* Na fydded i ti byth adael i gaethiwed deyrnasu

yn yr Ynys hon—cartref priodol caethiwed yw Rhufain  Bydd di yn unig, ac am byth, O dduwies dynoldeb a buddugoliaeth, yn benadur a brenines Prydain."

Cymerwyd Caer Col ar y rhuthr cyntaf gan y fyddin Frutanaidd. Ond y deml yn yr hon yr oedd gwarchodlu o'r hen filwyr a ddaliodd allan am ddau ddiwrnod, ac yna cyfranogodd o'r un dynged. Gorchfygwyd Petilius Cerealis, yr is-gadben Rhufeinig, gyda cholled am y 9fed lleng i gyd, wrth fryn Cogges (Cocci Collis). Ond Cerealis ei hun ynghyd ag ychydig o feirch-filwyr a ddiangasant i'r gwersyll. Ymosodwyd ar dref fwrdeisiol Verulam yn yr un modd —drylliwyd a llosgwyd hi. Yn ystod absenoldeb hirfaith Gweirydd yn y Gorllewin, pallodd Llundain unwaith yn rhagor yn ei ffyddlondeb i'r llywodraeth, gan dderbyn gwarchodlu Rhufeinig o fewn ei muriau, dan yr enw trefedigaeth. Yr oedd ei thrafnidiaeth y pryd hyn gymaint fel ag yr oedd y dinaswyr Rhufeinig yn unig ag oedd yn trigianu ynddi yn cael eu cyfrif yn 50,000 o nifer. Pe cyfrifem y rhai hyn mor uchel a bod yn chwechfed ran o'i holl boblogaeth, byddai genym gadarnhad cryf a didwyll o'r henafiaeth ddirfawr a briodolir gan haneswyr Prydain i sylfaeniad a gorwychder, y brif-ddinas Frutanaidd. Yn ei herbyn hi, y fyddin Frutanaidd ag oedd weithian wedi ymchwyddo i 230,000 o wyr, a gyfeiriodd ei dialedd  Y cyfryw o'r trigolion a feddent y gallu, a ffoisant ar ei dynesiant; a'r cyfan eraill, yn cynnwys y dinaswyr Rhufeinig a'r marsiandwyr tramor, a gymerasant noddfa gyda'r gwarchodlu o fewn yr amgaerau a ymestynent oddiwrth deml Diana at y Bryn Gwyn. Dringwyd i ben yr amgaerau—rhoddwyd y ddinas ar dân mewn pedwar o wahanol gyrau, nes gwneuthur yr adeiladau cyhoeddus a'r tai neillduol yn lludw fel eu gilydd. "Nid oedd arbediad bywyd na phridwerth," medd Tacitus, "yn cael eu rhoddi na'u cymeryd gan y naill blaid na'r llall yn y rhyfel yma." Mae yn anhawdd dychymygu faint o fywydau a aberthwyd yn y weithred hon o gyfiawnder gwladol. Y mae Tacitus yn lled arwyddo fod cyn yr ymladdfa gyda Paulinus, fwy na 70,000 o Rufeiniaid wedi cwympo naill ai mewn gwarchleoedd neu ar y maes. Mae yn deilwng o sylw, mai yr unig dro yr anrheithiwyd ac y dystrywiwyd Llundain, a fu, nid gan elyn tramor, ond gan Frenines Frutanaidd a byddin Frutanaidd, yn ymweled â hi gyda chospedigaeth haedd-

ianol am ei brad-ddichell i foddio gormeswr estronol. Ymddengys nad yw y wers byth wedi cael ei hanghofio; canys ei dinaswyr a fuont bob amser er y pryd hwnw y rhai cyntaf i wrthdaro yn erbyn ymosodiadau cyhoeddus neu ddylanwadau cyfrwysddrwg galluoedd tramor. Gan adael o'i hôl yr esiampl ofnadwy hon o brif-ddinas yn mudlosgi mewn lludw, a ddiffoddid gan waed ei thrigolion, ymysgubodd Buddug gyda'i lluoedd tua'r gorllewin. Nid yw Tacitus yn cofnodi ond dwy, tra y mae Dion yn cofnodi llawer o frwydrau wedi bod rhyngddi hi a'r cadfridog Rhufeinig. Mae ei chyfenwad yn y croniclau Brutanaidd, sef, Buddug, yn arwyddo mai nid mewn ychydig o'r rhai hyn y dylynodd llwyddiant ei harfau. Mae Tacitus yn pennodi lle y frwydr ddiweddaf yn ymyl Coedwig Epping; ond yr hanesydd Groegaidd a thraddodiadau Prydain, a ddywedant mai ar y ffordd Wyddelig, yn agos i *Newmarket*, yn swydd Callestr y bu. Mae yr amrywiol enwau ar y sefyllfa ddiweddaf hon yn egluro mor gywir ddygwyddiadau y frwydr fel y gallwn o'r bron feddwl fod Dion Cassius wedi chwilio'r tir cyn ysgrifenu ei ddarluniad. Ceir yma "Cop Paulinus"—"Bryn y Saethau"—"Bryn y Lladdfa"—"Pant y Gwae"—"Braich y Dadleu"—"Pwll y Crogwyn"—"Coetia yr Orsedd"—"Pant Erwin." O fewn hanner milldir o ffordd oddi yma y ceir y garreg goffawdwriaethol a elwir "Maen Achwynfan;" ac yr oedd ar y ffordd i Gaerwys gynt, ond y mae hi yn awr wedi ei symud i Downing, "Garreg Bedd Buddug." Pan yn troi at hanesiaeth Dion, yr ydym yn cael y frwydr wedi bod yn union y peth y mae yr enwau hyn yn ei ddatgan ac yn ei fytholi—yn ymladdfa derfysglyd angeuol o drwmarfog lengwyr, lluoedd cynnorthwyol, saethyddion, meirch-filwyr, a cherbyd-filwyr, yn gymysgedig â'u gilydd ac yn ymrwysgo yn ol ac ym mlaen yn holl rediadau nwydwyllt ymladdfa ffyrnig dros holl eangder y tir.

Tua machlud haul troai llwyddiant y dydd o ochr y Rhufeiniaid. Cilgwthiwyd y Prydeiniaid yn ol o fewn eu gwarchgloddiau, gan adael nifer mawr yn feirwon ar y maes neu yn garcharorion yn nwylaw y gelyn. Enciliodd y lleill mewn trefn reolaidd gan barotoi eu hunain yn fuan gwedyn er adnewyddu yr ymladdfa. Yn y cyfamser, both bynag, bu farw Buddug; yn ol hanesiaeth Tacitus, drwy wenwyn—ond yn ol yr hyn a ddywed Dion, wrth gwrs natur. Claddwyd hi gyda gorwychder traulgar.

Nid effeithiodd marwolaeth Buddug ond ychydig ar adnoddau ac yspryd Cymry y Gorllewin. Dygid y rhyfel ym mlaen gydag egni diorphwys dan lywyddiaeth Gweirydd, Venusius, a Gwallog ap Lleenog, Tywysog Brython Ystrad Clwyd. Yr oedd enw Gweirydd wedi cyrhaedd hynodrwydd yn Rhufain cyfartal i enw ei gefnder Caradog, ac ni allai Juvenal grybwyll unrhyw newydd a fuasai yn cael ei dderbyn gyda mwy o foddlonrwydd gwresog na'r newydd am gwymp y Pendragon anorchfygol hwn.

"A gwympodd Gweirydd, y cerbydawl gawr,
Y teyrn Prydeinig, ac ein golyn mawr,
O uchder ei filwrol sedd i lawr?"

"*Ferox Provincia*" "talaeth fileinig," yw yr enw a ddefnyddir gan yr haneswyr Lladinaidd am ein Hynys yn yr amser hwn—yr Esyllwyr yn neillduol, medd Tacitus, "nid ellid mo'u gorfodi drwy unrhyw fesurau, pa mor greulawn bynag, na'u dobrwyo drwy unrhyw addewidion, pa mor ardderchog bynag, i gydnabod arglwyddiaeth Rhufain." Wedi ei lethu gan yr un helbulon ag a ddadsylfaenasant gyfansoddiad Ostorius Scapula, rhoddodd Paulinus ei swydd i fyny ar ddiwedd y flwyddyn o.c. 60, yn ffafr Petronius Turpilianus. Yr oedd yr holl ymherodraeth Rufeinig ym mhobman arall yn mwynhau tawelwch, oddieithr Syria yn unig,—terfysgoedd yr hon a heddychwyd yr un flwyddyn gan Corbulo. Mae yn deilwng o sylw pa ymherawdwr bynag a fyddai ar yr orsedd, ni bu yr ymherodraeth ei hun erioed yn ddiffygiol o wladweinyddwyr a chadfridogion ym meddu y radd uchaf o gymhwysder. Yr oedd athrylith y byd, o'r Euphrates i Gibraltar, ac o Calais i'r Zahara, wrth ei galwad, yn barod i'w defnyddio gyda bwriad anmhlygiedig er cydgorffori Prydain.

Yn o.c. 64, yr oedd diddymiad Derwyddiaeth yn y tiriogaethau ar dueddau Deheuol yr afon Tafwys, ac yn eiddo y Coritaniaid a'r Iceniaid, wedi cael ei gwblhau gan Turpilianus. Yn yr un flwyddyn y bu yr erledigaeth gyntaf gan Nero yn erbyn y Cristionogion.

Yn o.c. 65, dylynwyd Turpilianus yn ei swydd gan Trebellius Maximus. Dan ei lywyddiaeth ef symudodd y terfynau Rhufeinig yn ol i'r dalaeth rhwng Dyfnaint a Dover. Galwyd Maximus yn ol, a phennodwyd Vectius Bolanus yn ei le, *ond nid gyda* mwy o lwyddiant.

Yn o.c. 66, cysegrwyd Linus, ail fab Caradog, gan St. Paul, yn Esgob Rhufain.

Yn o.c. 67, merthyrwyd St. Paul a St. Pedr yn Rhufain; claddwyd St. Paul yn y ffordd Ostianaidd. Ymhen blynyddau wedi hyny claddwyd pedwar plentyn Claudia wrth ei ochr ef.

Ym Mehefin, o.c. 68, dylynwyd Nero i'r orsedd gan Galba.

Bu "blwyddyn y chwyldroadau" (o.c. 69,) yn hir mewn coffadwriaeth o herwydd y cyfnewidiadau disymwth a gymerasant le yn y meddianiad o'r orsedd ymherodrol. Canys dylynwyd Galba gan Otho—Otho gan Vitellius—a Vitellius gan Vespasian.

Yn y flwyddyn o.c. 70, cymerwyd Jerusalem gan Titus a dinystriwyd hi i'r llawr; pryd y lladdwyd 1,100,000 o Iuddewon yn y gwarchae, neu y buont feirw o newyn. Cytunodd Petilius Cerealis ar seibiant o heddwch gyda Gweirydd, heb ganddo un dyben arall mewn golwg, mae'n debyg, heblaw galluogi Vespasian i ymffrostio fod teml Janus wedi ei chau am y chweched tro er amser sylfaeniad Rhufain, yn y flwyddyn o.c. 753, yr hyn sydd ddeongliad galarus ar hanesiaeth dyn a'i ymherodraethau!

Cerealis a'i olynydd Iwl Frontinus a ail ddygasant ym mlaen y banerau Rhufeinig cyn belled a'r afon Hymyr, gan ddarparu y ffordd fel hyn i lwyddiant y galluocaf o'r lluaws cadfridogion galluog ag oeddynt weithian dros saith-a'r-hugain o flyneddoedd wedi bod yn llywio y rhyfel ym Mhrydain—sef Iwl Agricola. Am hanes rhyfelgyrchoedd Agricola rhaid i ni gyfeirio at dudalenau ei fab-yng-nghyfraith a'i folianwr, sef Caius Cornelius Tacitus. Rhaid i grynodeb byr o honynt wneyd y tro yma.

Dygwyd ym mlaen ei ryfelgyrch cyntaf drwy ystod tymor cynhauaf y flwyddyn o.c. 78, a hynodwyd ef drwy fuddugoliaeth bendant a gafodd yn agos i Fwlch Agricola, yn Nyffryn Clwyd, ar y Gwyneddwyr, sef pobl Gogledd-barth Cymru. Yn y flwyddyn hon dyoddefodd Linus ferthyrdod yn Rhufain, a dylynwyd ef yn yr esgobaeth gan Cletus, neu Anacletus. Dylai y darllenydd gadw yn ofalus yn ei feddwl nad oedd eglwys gysefin Rhufain yn dwyn ond tebygoliaeth bychan iawn i'r gyfundrefn a sefydlwyd ar ei llygredigaeth yn y seithfed ganrif ac a adnabyddir yn awr fel y Babaeth. Nid oedd yr eglwys Rufeinig Gysefin yn hònni unrhyw ymddidoledigaeth nac uchafiaeth. Cynnelid hi am

dri chant o flynyddoedd drwy roddion gwirfoddol, yn benaf oddiwrth deulu breninol Prydain. Yr oedd ei hesgobion boreuaf yn ddynion o elusengarwch a gwroldeb diffuant ond heb fod yn nodedig am eu dealldwriaeth uchel. Rhufain Babaidd i raddau mawr ydoedd yr eglwys hon wedi ymlithro a'i hail-baganeiddio ar ol symudiad yr eisteddle ymherodrol gan Gystenyn i Gonstantinopl ar egwyddor wleidiadol yr hên ymherodraeth genhedlig—y prif wahaniaeth ydoedd fod offeiriadaeth anmhrïod yn lle byddin anmhrïod wedi cael ei gwneuthur yn offeryn er lledaenu a chyfuno ei hymerodraeth. Ni chafodd Rhufain Babaidd erioed ei chydnabod gan Eglwys Prydain a elwir yn briodol felly.

Ail ryfelgyrch Agricola a gymerodd i fyny y flwyddyn 79, a dygwyd ef ym mlaen yn erbyn y Brigiantwys, sef y dalaeth rhwng yr afon Hymyr a'r Tyne. Yr oedd amddiffynfeydd y Brigiantwys yn glodfawr am eu cryfder a'u harddwch.

Y trydydd rhyfelgyrch a gludodd ei arfau, yn y flwyddyn o.c. 80, hyd fôr-nant y Tay.

Yn y pedwerydd, o.c. 81, gwnaed rhes o gaerfeydd gwedi eu cysylltu ynghyd gan warchglawdd crŷf o Gaer Edin i Dunbriton.

Yn y pumed, o.c. 82, efe a ruthrodd dros Orllewin-barth yr Alban o ymyl y Clyde i Inverness.

Yn y chweched, o.c. 83, ymladdodd frwydr anmhenderfynol gyda Gwallog, i'r hwn y rhoddasid yr arlywyddiaeth yn y Gogledd, gan Gweirydd, ag oedd y pryd hyn yn analluog i'r gwasanaeth oherwydd ei oedran. Enciliodd Gwallog y flwyddyn ganlynol i diriogaethau y Pictiaid Cymreig—cadarnfa Derwyddiaeth yn y Gogledd; yr oedd eu tiriogaethau heirdd o amgylch Perth wedi eu taenu drostynt gan demlau a chôf-golofnau praffus. Mae Gwallog yn cael ei goffâu yn y Trioedd fel un o "dri Phost Cad Ynys Prydain;" ac ymddengys ei drefniadau yn y frwydr ddylynol, a ddarlunir gan Tacitus, fel yn cyfiawnhau y ganmoliaeth. Ymladdwyd hi ar gorswaun yr hon sydd eto yn dwyn yr enw Galgachan rhôs, yn Strathern, wrth odre y Bryniau Grampiaidd. Dywedir fod y golled Frutanaidd yn 10,000 o wyr wedi eu gadael yn feirwon ar y maes. Er hyny, pallodd y gorchfygiad yma, fel llawer eraill o'i flaen a marweiddio y genedl; ac er fod Agricola wedi gwth-

io ym mlaen y fantais a gafodd gyda'i gyflymder arferol, a'i lynges wedi cylchfordwyo yr Alban, eto ni bu ymataliad y rhyfel ond o fyr barhad.

Yn y flwyddyn o.c. 85, cafodd Agricola ei alw yn ol gan y gormesdeyrn drwg-dybus, Domitian—a phennodwyd Sallustius Lucullus, dyfeisiwr rhyw welliantau ar y waeywffon Rufeinig, yn ei le. Cymerodd y fyddin gyngrheiriol a ailgyflunwyd gan Gweirydd yn cynnwys y Cymry, y Pictiaid Cymreig, Caledoniaid Gorllewinbarth yr Alban, a'r Brigiantwys, y maes o newydd ar ei ddychweliad. "Prydain," medd Tacitus, "yr hon a ystyrid fel wedi ei gorchfygu o'r diwedd yn effeithiol, a gollwyd mewn eiliad." Ceid fod yn anmhosibl, medd awdwyr yr hanesion Augustaidd, i allu cadw y Brutaniaid o dan arglwyddiaeth Rufeinig. Yr oedd holl oresgyniadau Agricola, a brynasid drwy y fath draul fawr o waed, gwladlywiad, a thrysor, wedi myned yn ofer i'r ymherodraeth. Wedi gorchfygu Lucullus yn y Gorllewin a'r Gogledd, nis gallai gynyg un gwrthwynebiad diysgog i ymdaith yr hen Bendragon buddugoliaethus. Gwarchgloddiau Plautius, tu ol i ba rai yr oedd Lucullus wedi encilio, a gymerwyd drwy ruthr; croeswyd y Tafwys, ac ailfeddianwyd Llundain.

Yn o.c, 86, ar ol tair blynedd-a'r-ddeg-a'r-hugain o ryfel, a thros driugain o frwydrau pennodol ar y maes, ymlidiwyd y Rhufeiniaid o'u diogelfeydd diweddaf yng Nghaint. Fel hyn terfynodd traisymgyrch Gloew wedi pallu mor hynodol ag eiddo Iwl yn yr amcan mewn golwg, sef goresgyn tiriogaeth Prydain. Rhoddwyd terfyn drwy heddwch buddugoliaethus ar yr ymdrech wronol a wnaed yn erbyn gorfanteision dirif gan y gwladogion Brutanaidd a arweinid gan restr olynol o gadfridogion gwladgarol. Ac ni choronwyd neb mwy teilwng o lawryf tragwyddol na hwynt gan awen hanesyddiaeth.

Neratius Marcellus yw yr unig enw Rhufeinig a ddygwydd mewn hanes am y deg-a'r-hugain mlynedd canlynol mewn cysylltiad â'r Ynys. Cafodd yr holl gofarwyddion a'r arsgrifenau Rhufeinig eu dystrywio a'u dileu mor llwyr drwy orchymyn Gweirydd fel mai yn ofer y chwiliwn am ôlion o honynt cyn y flwyddyn o.c. 120, sef deunaw-a'r-hugain o flynyddoedd ar ol yr adennilliad hwn o Brydain. Yr arsgrifen yn Caer Cei am Cogidunus a briodolir i Pudens, fel gwr Claudia, yn hytrach nag fel swyddog Rhuf-

einig. "Am ddeugain mlynedd," yn iaith yr Ysgrythyr, "cafodd y wlad lonyddwch oddiwrth ei holl elynion oddiamgylch."

Yn o.c. 89, Gweirydd, yr hwn yn ddiau ydoedd gadfridog penaf ei oes, ac i'r hwn nid ellir cydmaru neb ond Washington, o barth holl rinweddau anhunangar milwr gwladgarol, a fu farw yng nghanol gofid y bobl, er cadw rhyddfreiniau pa rai y bu efe o gymmaint gwasanaeth. Olynwyd ef i'r orsedd gan ei fab Meuryg.

Yn o.c. 90, bu farw Joseph o Arimathea yng nghysegr heddychol Ty ei Dduw, yn Afallon. Mae traddodiad gyda hoffder cysegredig wedi cadw ar gôf y beddargraff syml a arsgrifenwyd ar ei feddrod—sef "Ar ol i mi gladdu Iesu Grist, mi a ddeuais at y Brutaniad; dysgais hwynt, a gorphwysais."

Ni hynodwyd teyrnasiad Meuryg ond gydag ychydig ddygwyddiadau o bwys. Rhodri brenin o Llychlyn, pan yn gwneuthur ymgyrch yn erbyn yr Alban, a orchfygwyd ganddo ef wrth Gaer Leil. Sefydlodd Meuryg y carcharorion lluosog Llychlynaidd yn Caithness (penrhyn y caethwas), lle mae eu hiliogaeth eto yn dangos llawer o'u nodebau naturiol ac ieithyddol.

Yn 114, gorphenodd Meuryg wneuthur y cytundeb â Trajan, drwy yr hwn y cydsyniodd Prydain o'r diwedd ar delerau pennodol i ddyfod yn rhan gyfunol o'r ymherodraeth Rufeinig. Y rhai penaf o'r telerau hyn oeddynt, ar fod i'r Brutaniaid gael parhau dan lywyddiaeth eu Breninoedd brodorol a'u cyfreithiau eu hunain. Fod y gyfraith Rufeinig i gael ei chyfyngu i'r cyfryw ddinasoedd a ddewisent ddyfod yn gorfforaethau neu drefedigaethau. Na byddai un Prydeiniwr gael ei aflonyddu yn ei diriogaethau etifeddol; a bod y tair lleng Rhufeinig oeddynt i gael eu sefydlu yn Nghaer Ludd, Caerlleon a Chaer Efrog, i gael eu codi i gyd o wirfoddiaid Brutanaidd, a byth gael eu gyru ar wasanaeth tramor. Am hyn, ymrwymai Prydain i drethu ei hun i'r swm blynyddol o dair mil o bwysau o arian, fel ei chyfroddiad at gynnal cyfundrefn gyffredinol yr ymherodraeth, ac i osod ei lluoedd o dan swyddogion a bennodid gan yr ymherawdwr. Mewn cyfeiriad at y cytundeb pwysig hwn, mae Arglwydd Prif Farnydd Fortescue yn sylwi fel hyn—"Yn amser yr holl wahanol genedloedd a breninoedd a fuont *yn llywodraethu* Prydain, y mae hi bob amser wedi

cael ei llywodraethu gan yr un arferion ag sydd yn ffurfio sail ei chyfreithiau presenol. Pe na buasai yr hen arferion Brutanaidd hyn yn rhai tra rhagorol, buasai rheswm, cyfiawnder, a'u gwladgarwch, wedi tueddu rhai o'r breninoedd i'w cyfnewid neu eu gwneuthur yn amgen, yn enwedig y Rhufeiniaid, y rhai a lywodraethent holl ranau eraill y byd wrth y deddfau Rhufeinig." Ac y mae Syr Winstone Churchhill, tad yr enwog Dduc Marlborough, yn cyfeirio sylw yn ei "*Divi Brittanici*" at yr un gwahaniaeth rhwng Prydain a holl ranau eraill yr ymherodraeth Rufeinig. "Mae yn eglur fod y Brutaniaid," medd ef, "pa un bynag ai drwy gyngrhair, cytundeb, neu ryw fodd arall yn sefyll yn yr achos o fwynhau eu rhyddfreiniau a'u cyfreithiau eu hunain, mewn gwahanol sefyllfa tuag at y llywodraeth Rufeinig oddiwrth unrhyw dalaeth arall yn yr ymherodraeth. Mae yn ddiddadl iddynt wneuthur y fath amodau fel ag i allu cadw eu breninoedd eu hunain a'u cyfreithiau eu hunain."

Yn o.c. 120, y gwnaeth Adrian ei wrthglawdd oddiwrth yr afon Tyne hyd fôrnant Solway. O'r amser hwn hyd 406, rhaid ystyried Prydain yn barth o'r ymherodraeth Rufeinig, ond yn cael ei llywodraethu gan ei breninoedd a'i chyfreithiau ei hun; ac efallai na bu yn mwynhau heddwch a llwyddiant mwy sylweddol yn ystod unrhyw amser o gyffelyb barhad. Mae talmau o amser o ugain, deg-a'r-hugain, a deugain mlynedd yn dygwydd yn llawn o dawelwch,—felly nid yw yr hysbysiadau ymherodrol yn cofnodi dim oddieithr enwau y swyddogion uchel a olynent y naill y llall yn y gweinyddiaethau milwrol a gwladol. Ond yn y cyfamser yr oedd Cristionogaeth ar y Cyfandir a Derwyddiaeth ym Mhrydain yn cael eu gwahardd yn barhaus gan y llywodraeth Rufeinig gyda'r un dygasedd annhostiriol. Oddiyma y cyfododd cydymdeimlad rhyngddynt, yn tarddu oddiar gyd-ddyoddefaint. Darfu ymlidiad graddol Derwyddiaeth drwy undeb gwahanol achosion dros y Forth, adael maes rhydd i efengylwyr Crist; a buan y penderfynodd yr ewyllys wladol ym Mhrydain gael diwygiad crefyddol mwy cyflawn ac anhunangar nac eiddo yr unfed-ganrif-a'r-bymtheg. Coel, mab St. Cyllin, mab hynaf Caradog, a olynodd ei ewythr Meuryg, a phan y bu farw gadawodd un mab ar ei ol, sef Lleurwg, neu Lles, yr hwn a esgynodd i'r orsedd yn ei ddeunawfed mlwydd, yn o.c. 125. Yr oedd

wedi cael ei ddwyn i fyny mewn addysg yn Rhufain, gan ei ewythr St. Timotheus, mab Claudia, ac ŵyr Caradog.

Yn o.c. 155, gan ddeall fod y gwladogion Brutanaidd yn barod i'w gefnogi, efe a sefydlodd Gristionogaeth fel y grefydd wladol yn lle Derwyddiaeth, a hyny mewn cynghorfa genedlaethol yn Nghaer Wynt. Efe a'r cyfryw o'i bendefigion ag oeddynt cyn hyn wedi cymeryd arnynt addunedau ymrwymiad Cristionogol a fedyddiwyd yn gyhoeddus gan Timotheus. Fel hyn y cafodd y weinidogaeth Gristionogol ei harwain i mewn i holl iawnderau glwyslywiaeth Dderwyddol. Y Gorseddau neu y cwrtiau uchel Dderwyddol ag oedd ym mhob llwyth neu sîr, a ddaethant yn gynifer o esgobaethau. A rhoddodd Gorseddau yr Arch-dderwyddon yn Nghaer Ludd, Caer Efrog, a Chaerlleon, ddechreuad i urddiant newydd yn yr Eglwys, sef Arch-esgobaethau.

Er coffawdwriaeth am y cyfnewidiad pwysig hwn gwaddolwyd pedair o eglwysi gan Lucius allan o'r etifeddiaethau breninol, sef eglwys Caer Wynt, yr hon yn awr yw yr eglwys gadeiriol—eglwys Llandaff, yr hon hefyd yn awr yw yr eglwys gadeiriol—eglwys St. Pedr, Cornhill—a St. Martin's, yn Nghaer Gaint, yr hon a drosglwyddwyd gan Bertha, brenines Ethelbert, brenin Caint, ym mhen pedwar cant a hanner o flynyddoedd ar ol hyny i Awstin a'r gennadiaeth Saxonaidd ar eu tiriad cyntaf yn y wlad hon. Rhaid caniatâu i'r Eglwys Frutanaidd yr uchafiaeth ar bob un arall o barth blaenafiaeth ei sylfaeniad—ei chasineb at erlidigaeth—ei gwrthodiad o bob safon arall o wirionedd Dwyfol amgen na'r Beibl—ei hyspryd gwladgarol a'i gwrthwynebiad at gaethiwed ym mhob ffurf, ac yn olaf, o barth ei gwrthryfelaeth diamodol yn erbyn hawlhòniadau eglwys Rhufain, ar ol i Rufain ballu bod yn brif eglwys a dyfod o honi yn Babaidd. Cadwodd ei hannibyniaeth gwladol o'r flwyddyn o.c. 155, hyd 1203, pan er gwaethaf gwrthdystiadau mynych ei hoffeiriad, y cydgorfforwyd hi â'r Eglwys Rufeinig yr hon a ddygwyd i mewn i Loegr gan Awstin, yn 596. Oddiwrth y ffaith mai penau teuluoedd neu aelodau o'r linach freninol oeddynt "dadmaethod a mammaethod" yr Eglwys Frutanaidd,—sef Brân, Caradog, Eurgain, Claudia, St. Cyllin, a Lles,—arferid ei gwahannodi oddiwrth eglwysi eraill dan yr enw "*Regia Domus*"—y deml freninol. "Mae gogoniant Prydain," megys y sylwa Genebrard, "yn gynnwysedig nid yn unig yn hyn, mai hi ydoedd y wlad

gyntaf, yr hon, yn ei sefyllfa wladwriaethol, a arddelodd yn gyhoeddus ei bod yn Gristionogol, ond iddi hi wneyd yr addefiad hwn pan oedd yr ymherodraeth Rufeinig ei hun eto yn baganaidd ac yn erlid Cristionogion yn greulon."

Yr oedd defodau Prydain yn gofyn cydsyniad yr holl genedl i unrhyw-deb mewn crefydd. Gan hyny, wrth ddwyn oddi amgylch y diwygiad cyntaf hwn, rhaid fod Lles neu Lleurwg yn cynddrychioli tybiadau y mwyafrif o leiaf o'i ddeiliaid. Dylynwyd hyn gan ddeddf ddoeth, ëofn, a haelfrydig, drwy yr hon yr oedd pob un a wnelai araddefiad cyhoeddus o Gristionogaeth yn dyfod i hawl o holl iawnderau Prydeiniwr brodorol. Fel hyn cafodd torfëydd o ffyddloniaid erlidiedig y Cyfandir, nid yn unig noddfa dros amser, ond cartref rhydd ym Mhrydain.

Mae Pius, esgob Rhufain, ym mynegi fel hyn am ferthyrdod St. Timotheus, cyn hir ar ol ei ddychweliad o Brydain. —"Y santaidd Dimotheus a Marcus, henuriaid, y rhai a addysgwyd gan yr Apostolion, ac y fuont byw hyd ein hamser ni, a roddasant i fyny eu bywydau yn y rhyfel ddaionus. Maent yn awr yn gorphwys mewn heddwch yn eu gwelyau." Croeshoeliwyd Hermas, gweinidog y Titulus, yr un amser. Gadawodd Timotheus ei balas, ei diroedd, a'i fâddau (*baths*), yn gymunrodd i'r Eglwys yn Rhufain. Y flwyddyn ganlynol derbyniodd Pius yr un goron gogoniant; ac ym mhen naw mlynedd ar ol hyny, Polycarp hefyd, yr hwn oedd gyfoeswr arall o eiddo yr Apostolion.

Yr oedd mynachlogydd yr Eglwys Frutanaidd mor fawrwych na fu eu cyffelyb byth ar ol hyny. Dywed y Trioedd, —"Tair prif Gyfangor ynys Prydain: Bangor Illtud Farchawg yn Nghaer Worgorn; Cor Emrys yn Nghaer Caradawg; a Bangor Wydrin yn ynys Afallen; ac ym mhob un o'r tair Bangor hynny ydd oedd pedwar cant a'r hugain o saint sef oedd cant ar bob awr o'r dydd a'r nos yn eu cylch yn cynnal mawl a gwasanaeth Duw heb orphwys heb yspaid." Sylfaenwyd Bangor Iscoed dros gant o flynyddoedd o flaen unrhyw Fonachlog arall yn Ewrop neu Asia. "Yr wyf yn ystyried Bangor, a waddolwyd gan y brenin Lles," ysgrifena Syr Winstone Churchhill, "fel y Fonachlog gyntaf, a'r fwyaf a fu erioed; nid wyf yn dweyd yn yr ynys hon yn unig, ond yn unrhyw barth o'r byd, sylfeini yr hon a osodwyd mor ddwfn na allai unrhyw rai o'r ymherawdwyr Rhufeinig yn y canrifau dylynol, er eu bod gan mwyaf yn

einig. "Am ddeugain mlynedd," yn iaith yr Ysgrythyr, "cafodd y wlad lonyddwch oddiwrth ei holl elynion oddiamgylch."

Yn o.c. 89, Gweirydd, yr hwn yn ddiau ydoedd gadfridog penaf ei oes, ac i'r hwn nid ellir cydmaru neb ond Washington, o barth holl rinweddau anhunangar milwr gwladgarol, a fu farw yng nghanol gofid y bobl, er cadw rhyddfreiniau pa rai y bu efe o gymmaint gwasanaeth. Olynwyd ef i'r orsedd gan ei fab Meuryg.

Yn o.c. 90, bu farw Joseph o Arimathea yng nghysegr heddychol Ty ei Dduw, yn Afallon. Mae traddodiad gyda hoffder cysegredig wedi cadw ar gôf y beddargraff syml a arsgrifenwyd ar ei feddrod—sef "Ar ol i mi gladdu Iesu Grist, mi a ddeuais at y Brutaniad; dysgais hwynt, a gorphwysais."

Ni hynodwyd teyrnasiad Meuryg ond gydag ychydig ddygwyddiadau o bwys. Rhodri brenin o Llychlyn, pan yn gwneuthur ymgyrch yn erbyn yr Alban, a orchfygwyd ganddo ef wrth Gaer Leil. Sefydlodd Meuryg y carcharorion lluosog Llychlynaidd yn Caithness (penrhyn y caethwas), lle mae eu hiliogaeth eto yn dangos llawer o'u nodebau naturiol ac ieithyddol.

Yn 114, gorphenodd Meuryg wneuthur y cytundeb â Trajan, drwy yr hwn y cydsyniodd Prydain o'r diwedd ar delerau pennodol i ddyfod yn rhan gyfunol o'r ymherodraeth Rufeinig. Y rhai penaf o'r telerau hyn oeddynt, ar fod i'r Brutaniaid gael parhau dan lywyddiaeth eu Breninoedd brodorol a'u cyfreithiau eu hunain. Fod y gyfraith Rufeinig i gael ei chyfyngu i'r cyfryw ddinasoedd a ddewisent ddyfod yn gorfforaethau neu drefedigaethau. Na byddai un Prydeiniwr gael ei aflonyddu yn ei diriogaethau etifeddol; a bod y tair lleng Rhufeinig oeddynt i gael eu sefydlu yn Nghaer Ludd, Caerlleon a Chaer Efrog, i gael eu codi i gyd o wirfoddiaid Brutanaidd, a byth gael eu gyru ar wasanaeth tramor. Am hyn, ymrwymai Prydain i drethu ei hun i'r swm blynyddol o dair mil o bwysau o arian, fel ei chyfroddiad at gynnal cyfundrefn gyffredinol yr ymherodraeth, ac i osod ei lluoedd o dan swyddogion a bennodid gan yr ymherawdwr. Mewn cyfeiriad at y cytundeb pwysig hwn, mae Arglwydd Prif Farnydd Fortescue yn sylwi fel hyn—"Yn amser yr holl wahanol genedloedd a breninoedd a fuont yn llywodraethu Prydain, y mae hi bob amser wedi

Severus ar wastadedd Lyons. Ymddangosai y fuddugoliaeth ganol dydd, medd Herodian, fel wedi troi o ochr y fyddin Frutanaidd—gan fod canol-ran y fyddin elynol wedi eu gyru ar ffô, a Severus ei hun wedi rhedeg dan ffugiant o'r maes. Ond daeth lluoedd newyddion i fyny, a chan ymosod ar y Brutaniaid pan yn yr annrhefn o ymlid ar ol y gelyn, ail-ennillasant y dydd. Torwyd pen Albinus, ac arweiniwyd y llengau Brutanaidd yn ol i Brydain gan isgadben perthynol i'r gorchfygwr, sef Virius Lupus. Y Pictiaid gan gymeryd mantais o'r anfoddlonrwydd a ddylynodd, a wnaethant ymgyrch yn erbyn y dalaeth. Ond llwyddodd Lupus i'w cael o'i blaid drwy lwgr-wobrwyaeth ddirfawr—yr engraifft gyntaf o'r wladlywiaeth hunanladdol a ddaeth ar ol hyny yn rheol yn hytrach nac yn eithriad gyda'r ymherodraeth Rufeinig tuag at ymgyrchwyr barbaraidd a ymosodent i'w herbyn. Nid oedd Severus beth bynag yn wr o yspryd i awdurdodi y fath weithred gywilyddus. Daeth yn ddioed gyda'i ddau fab i Brydain, ac a adgyweiriodd Dofer, a'r holl gaerfëydd deheuol eraill; aeth ar ymdaith i'r Alban, yr hon wlad oedd y pryd hwn yn dyfod yn fwy adnabyddus wrth yr enw Celyddon, ac mewn tair rhyfelgyrch cludodd ei arfau i ben pellaf yr ynys. Efe a gollodd yn yr hynt ryfelgar hon 50,000 o filwyr, ond yr oedd nerth y Pictiaid a'r Celyddonwys am ddeugain mlynedd wedi ei dori i lawr yn effeithiol. Ar hyd cyfeiriad gwarchglawdd Adrian, efe a adeiladodd "fur Severus," terfyn gogleddol yr ymherodraeth. Cyrhaeddai, gyda thŷrau wedi eu codi o fewn cyfryngau o bellder pennodol oddiwrth eu gilydd, ar draws yr ynys, oddiwrth y *Wall's End* at fôr Iwerddon—yr hwn oedd waith enfawr cyfartal i'r hyn a fuasai cylchglawdd o amgylch Llundain a'i maesdrefi gyda'u poblogaeth presenol o 2,800,000 o drigolion. Bu farw Severus ar y 4ydd o Orphenaf y flwyddyn ganlynol, sef, yn o.c. 211, yn Nghaer Efrog.

Yn o.c. 228, olynwyd Cadfan yn y freniniaeth gan Coel, ei fab y'nghyfraith, hoff breswylfod yr hwn oedd Caer Coel. Yn o.c. 242, yn y ddinas hono y ganed Elen ei ferch, yr hon a ddaeth mewn amser yn ymherodres, ac yn fam i Cystenyn. Yn o.c. 260, cafodd Constans, nai Gloew Gothicus yr ymherawdwr, gwr ieuanc pump-a'r-hugain oed, ond yr hwn oedd eisoes wedi cyrhaedd graddiant milwrol uchel yn yr Hispaen, ei bennodi yn brwyadur i benderfynu rhyw

wedi cael ei ddwyn i fyny mewn addysg yn Rhufain, gan ei ewythr St. Timotheus, mab Claudia, ac ŵyr Caradog.

Yn o.c. 155, gan ddeall fod y gwladogion Brutanaidd yn barod i'w gefnogi, efe a sefydlodd Gristionogaeth fel y grefydd wladol yn lle Derwyddiaeth, a hyny mewn cynghorfa genedlaethol yn Nghaer Wynt. Efe a'r cyfryw o'i bendefigion ag oeddynt cyn hyn wedi cymeryd arnynt addunedau ymrwymiad Cristionogol a fedyddiwyd yn gyhoeddus gan Timotheus. Fel hyn y cafodd y weinidogaeth Gristionogol ei harwain i mewn i holl iawnderau glwyslywiaeth Dderwyddol. Y Gorseddau neu y cwrtiau uchel Dderwyddol ag oedd ym mhob llwyth neu sîr, a ddaethant yn gynifer o esgobaethau. A rhoddodd Gorseddau yr Arch-dderwyddon yn Nghaer Ludd, Caer Efrog, a Chaerlleon, ddechreuad i urddiant newydd yn yr Eglwys, sef Arch-esgobaethau.

Er coffawdwriaeth am y cyfnewidiad pwysig hwn gwaddolwyd pedair o eglwysi gan Lucius allan o'r etifeddiaethau breninol, sef eglwys Caer Wynt, yr hon yn awr yw yr eglwys gadeiriol—eglwys Llandaff, yr hon hefyd yn awr yw yr eglwys gadeiriol—eglwys St. Pedr, Cornhill—a St. Martin's, yn Nghaer Gaint, yr hon a drosglwyddwyd gan Bertha, brenines Ethelbert, brenin Caint, ym mhen pedwar cant a hanner o flynyddoedd ar ol hyny i Awstin a'r gennadiaeth Saxonaidd ar eu tiriad cyntaf yn y wlad hon. Rhaid caniatâu i'r Eglwys Frutanaidd yr uchafiaeth ar bob un arall o barth blaenafiaeth ei sylfaeniad—ei chasineb at erlidigaeth—ei gwrthodiad o bob safon arall o wirionedd Dwyfol amgen na'r Beibl—ei hyspryd gwladgarol a'i gwrthwynebiad at gaethiwed ym mhob ffurf, ac yn olaf, o barth ei gwrthryfelaeth diamodol yn erbyn hawlhòniadau eglwys Rhufain, ar ol i Rufain ballu bod yn brif eglwys a dyfod o honi yn Babaidd. Cadwodd ei hannibyniaeth gwladol o'r flwyddyn o.c. 155, hyd 1203, pan er gwaethaf gwrthdystiadau mynych ei hoffeiriad, y cydgorfforwyd hi â'r Eglwys Rufeinig yr hon a ddygwyd i mewn i Loegr gan Awstin, yn 596. Oddiwrth y ffaith mai penau teuluoedd neu aelodau o'r linach freninol oeddynt "dadmaethod a mammaethod" yr Eglwys Frutanaidd,—sef Brân, Caradog, Eurgain, Claudia, St. Cyllin, a Lles,—arferid ei gwahannodi oddiwrth eglwysi eraill dan yr enw "*Regia Domus*"—y deml freninol. "Mae gogoniant Prydain," megys y sylwa Genebrard, "yn gynnwysedig nid yn unig yn hyn, mai hi ydoedd y wlad

deyrnasoedd Prydain a gwledydd Saesonig y Cyfandir. Yr oedd ei lyngesau yn arlywio y moroedd o Gibraltar hyd ynysoedd Gorllewin yr Alban. Mae rhif yr arian bâth a wnaed yn ei fâthdŷ ef, y rhai ydynt wedi dyfod i lawr i'n hoes ni, yn lluosocach nac eiddo un ymherawdwr arall. Cafodd Maximian, yr hwn oedd gyd-ymherawdwr â Dioclesian, ei orchfygu ganddo ef yn ei ymgyrch anturiaethol yn erbyn Prydain; ond ym mhen tair blynedd ar ol hyny cafodd y teyrn gwir Brutanaidd hwn ei ddirgel-lofruddio gan ei swyddog, Allectus, yn Nghaer Efrog. Ar ei farwolaeth ef gwahoddodd yr Ynys Constans Caisar i gymeryd meddiant o'r orsedd. Lladdwyd Allectus yn agos i Lundain. Ni adawodd Constans Brydain byth drachefn. Ei hoff drigfa oedd Caer Seiont, sef Caernarfon. Bu farw yn Nghaer Efrog, yn o.c. 306. Gorchymynodd yn ei ewyllys i'w gorff gael ei gladdu yn Nghaernarfon. Symudwyd ei feddrod i'r tu mewn i'r eglwys yn amser Iorwerth I.

Ni chyrhaeddodd un o'r naw erlidigaeth gyntaf yn erbyn y Cristionogion i Brydain. Ond y ddegfed dan Dioclesian, yr hon a barhaodd yn ei ffyrnigrwydd am ddeunaw mlynedd dros bob rhan arall o'r ymherodraeth, a derfynwyd ym Mhrydain gan Constans mewn llai na blwyddyn, yng ngwyneb perygl o ryfel gwladol rhyngddo ef a'i gyd-lywodraethwyr. Ym mhlith y rhai a syrthiasant yn ebyrth iddi yr oedd Amphibalus, esgob Llandaff, Alban o Verulam, Aaron a Julius, henuriaid o Gaerlleon; Socrates, arch-esgob Caer Efrog; Stephen, arch-esgob Llundain; Augulius, (ei olynydd) arch-esgob Llundain, Nicholas, esgob Penrhyn (Glasgow,) Melior, esgob Caer Leil, a rhwng deg a phymtheg mil o gymunwyr ym mhlith amrywiol raddau cymdeithas.

Cyn gynted ag y daeth marwolaeth Constans yn hysbys, derchafodd y llengwyr Prydeinig ei fab Cystenyn, yr hwn oedd y pryd hyny yn ei 31ain mlwydd o'i oedran, ar eu tarianau, ac a'i cyhoeddasant ef yn Ymherawdwr. Gellir darllen gyrfa ei fywyd yn gyflawn yn "*Gibbon's Decline and Fall of the Roman Empire.*" Wedi cael ei addysgu gan ei fam yn y ffydd Gristionogol, yr oedd ef er yn foreu wedi ffurfio y penderfyniad o osod Cristionogaeth dros holl eangder yr ymherodraeth ar yr un sail ag a ddaliasai dros amser maith ym Mhrydain. Rhoddodd yr amcan mewn grym gyda challineb digyfeiliorn a dyfal-barhâd diysgog drwy ugain mlynedd o ryfelgyrchoedd peryglus. Ei gydymgeis-

wyr Paganaidd, Maximian, Maxentius, Maximus, a Licinius a roddasant i fyny yn olynol o flaen grym ei arfau buddugoliaethus. Cynnorthwywyd ef hyd y diwedd gyda ffyddlondeb rhyfeddol gan ei lengwyr y rhai a etholwyd yn benaf ym Mhrydain o'i diriogaethau etifeddol, fel rhai oeddynt Gristionogion perthynol i'r eglwys Brydeinig. Esiampl ei dad ydoedd ei arweinydd drwy ystod ei fywyd. Ymddygai tuag at Elen ei fam gyda'r parch a'r cariad mwyaf. Mae amcanion mawr ei fywyd yn cael eu hegluro yn dda ganddo yn un o'i gyhoeddebau gwladol. Dyma y geiriau,—"Yr ydym yn galw Duw yn dyst, yr hwn yw Iachawdwr pawb, pan yn ymaflyd yn awenau y llywodraeth, na chawsom erioed ein dylanwadu gan unrhyw ystyriaeth amgen na'r ddwy ystyriaeth yma—sef, uno ein holl diriogaethau mewn un ffydd, ac adferu heddwch i fyd a ddryllir yn ddarnau gan wallgofrwydd erlidigaeth crefyddol." Bu farw, ar ol bod am ddeunaw mlynedd yn unig lywodraethwr y byd Rhufeinig, yn ei balas yn agos i Nicopolis, yn o.c. 337. Yn nesaf at Arthur gellir ystyried Cystenyn fel y mwyaf o'r ymherawdwyr Brutanaidd. Efe a roddodd sefydliad gwladol i Gristionogaeth gyffredin gwledydd crêd. Yr oedd Esgobion o Brydain yn bresenol yn nghymanfäoedd Arles a Nice, a gynhaliwyd yn o.c. 314, ac yn o.c. 325, yn ystod ei deyrnasiad ef. Credo Catholic Nice, yr hwn a fabwysiadwyd mewn Cymanfa o Gristionogion holl wledydd crêd, gydag ymherawdwr brodorol o Brydain yn llywyddu, yw yr unig gredo, heblaw eiddo yr Apostolion, perthynol i'r hên eglwys Frutanaidd.

Yn o.c. 369, curodd Theodosius yn ol ymgyrch a wnaed gan y Pictiaid a'r Ysgotiaid. Wrth yr enw *Ysgotia*, cyn y nawfed ganrif, y meddylid Iwerddon, ac wrth yr enw Ysgotiaid, y Gwyddelod. Ar ol goresgyniad Gorllewinbarth Celyddon yn y seithfed ganrif gan yr Ysgotiaid Gyddelig, daeth y wlad yn raddol i gael ei hadnabod wrth eu henw.

Yn o.c. 383, cymerodd Macsen, gorŵyr Cystenyn Fawr, fantell borfforaidd yr ymherodraeth ym Mhrydain a phennododd ei fab Owen Finddu, yn Gaisar. O dan lywyddiaeth Macsen ac Elen merch Eudaf, Tywysog Cymru, ei wraig, ymadawodd yr olaf o'r "Tri Arianllu" o Brydain er goresgyn y Cyfandir. Gwnaeth Macsen Gynan o Bowys Meriadog, cefnder Elen, yn Frenin Llydaw. O hono ef y disgynodd llinach y Penaduriaid a'r Duciaid Bretonaidd, yr

hon a derfynodd yn y 15ed ganrif yn Anne o Lydaw, yr hon a fu ddwywaith yn Frenines Ffraingc. Darostyngwyd Gâl a Gogledd-barth yr Eidal gan Macsen. Ond cwympodd yntau o'r diwedd yn agos i Aquileia, yn yr Eidal, pan yn gwrthwynebu Theodosius, ar y 26ain o Orphenaf, o.c. 388. Ymsefydlodd gweddillion ei fyddin ym mhlith eu cydwladwyr dan lywyddiaeth Cynan yn Llydaw.

Yn o.c. 406, ymddidolodd Prydain o'r diwedd oddiwrth yr ymherodraeth Rufeinig, gan ethol Cystenyn, ŵyr Cynan o Lydaw, fel ei Phenadur; felly, megys mai hi ydoedd yr olaf i ymostwng, hi ydoedd hefyd y gyntaf i ail-hònni ei hannibyniaeth a'i chenedligrwydd henafol. Parhaodd llywodraeth y Rhufeiniaid ym Mhrydain am 286 o flynyddau. Ni fu y Cymry, neu y prif dylwyth, erioed yn hollol gymodlon â hi, ond nid ymddengys ei bod wedi ymyru i unrhyw radd o bwys â'u blaenoriaeth filwrol—canys yr oedd dwy o'r tair lleng yn gyfansoddedig o wyr Cymraeg, ac yn gorsafu yn eu prif ddinasoedd gogleddol a deheuol, sef, Caerlleon ar Dwy, a Chaerlleon ar Wysg.

## Y CYFNOD ARTHURAIDD.

Cwympodd yr ymherodraeth Rufeinig, ar dueddau Gorllewinol yr Alpau, Rhag. 31, o.c. 436, cyn ymosodiad y "Llu Du." Y cenedloedd hyn oeddynt yr Huniaid, Gothiaid, Vandaliaid, Burgundiaid, Ffranciaid, a'r Alaniaid. Daeth yr Huniaid o Ddwyreinbarth Tartari; y Gothiaid, neu Getæ, o Ddeheubarth Rwsia; y Vandaliaid, Burgundiaid, a'r Alaniaid o Ganolbarth yr Almaen; a'r Ffranciaid o Orllewin yr Almaen. Goresgynwyd Deheubarth yr Almaen a Gogleddbarth yr Eidal gan yr Ostro-gothiaid,—Ffrainc gan y Ffranciaid—yr Hispaen gan y Sueviaid, Vandaliaid, a'r Visigothiaid—Gogledd Affrica gan y Vandaliaid,—a Hungari gan yr Huniaid. Yr oedd y Gothiaid, Ffranciaid, a'r Vandaliaid, cyn y flwyddyn o.c. 400, wedi cofrestru eu hunain yn gyflog-ddynion i'r ymherodraeth, dan yr amod o gael mewn ad-daliad gyffiau helaeth o dir-

iogaeth i amddiffyn ei chyffiniau yn erbyn pob gormeswr. Yr oedd byddinoedd yr ymherodraeth mewn gwirionedd wedi eu barbareiddio—hyny yw, wedi eu codi o'r bron i gyd o fanau an-Rhufeinig, yn hir cyn ymddatodiad ei chyfansoddiad gwladol, ac yr oedd rhai o'i swyddogaethau mwyaf cyfrifol yn cael eu cyflawni gan wlad-weinyddion barbaraidd. Felly yr oedd Stilicho, ei gwleidiadydd a'i chadfridog callaf, yn un o'r Vandaliaid.

Yn o.c. 398, gwnaeth Alaric, y Gothiad, o hiliogaeth Balta, ymgais yn ei swydd fel pennaeth y fyddin amddiffynol Gothiaidd, am yr urddas o fod yn ben-cadfridog yr holl ymherodraeth. Gan fod yr anrhydedd hwn wedi ei roddi gan Honorius i Stilicho, Alaric, gan wrthod ei ffyddlondeb i'r llywodraeth, a ymosododd ar yr Eidal, ond drwy gynnorthwy y llengau Brutanaidd gorchfygwyd ef gan Stilicho, gyda lladdfa ddirfawr, yn Pollentia yn Lombardi. Ar ol ei orchfygu eilwaith yn Verona, tynodd Alaric ei luoedd yn ol, wedi eu lleihau i un rhan o dair mewn nifer, i anialdir yr Almaen. Yn 406, wedi i orlifiad newydd o wyr dan Rhadagisus groesi yr Alpau, y Po, a'r Apenniniaid gwarchaeasant ar Fflorence, ond dymchwelwyd hwynt ar Fryniau Fæsulæ gan y penlluyddwr Vandalaidd, gyda cholled am eu tywysydd ynghyda 140,000 o wyr. Y lleill, yn 250,000 o nifer, ac yn gynnwysedig o Sueviaid, Vandaliaid, Alaniaid, a Burgundiaid, a aethant dros yr Alpau, ac a yrasant y Ffranciaid ar ffô—i ba rai yr oedd amddiffyniad terfyn cyffiniol yr Almaen wedi ei ymddiried, gyda cholled am 20,000 o wyr, ac a aethant dros y Rhine, yr 31ain o Ragfyr, 406. Dinystriwyd Mentz; yspeiliwyd a llosgwyd Strasburg, Spires, Rheims, Tournay, Arras, ac Amiens. Y ddwy-dalaeth-a'r-bymtheg o eiddo Gâl hyd at waelod y Pyreniaid a ymostyngasant heb ail ymladdfa, o flaen grym eu harfau.

Mae y lluoedd a arllwysid yn barhaus am y ganrif a hanner dylynol, gan wledydd eang Gogledd Asia ac Ewrop ar warthaf y Dehau a'r Gorllewin bron yn angrhedadwy. Fel engraifft o'r raddfa ddirfawr ar ba un y dygid ym mlaen weithrediadau milwrol yn ystod yr amser yma, yr oedd y lluoedd ag oeddynt ar waith ym mrwydr Lyons, yn o.c. 448, rhwng Œtius ac Attill yr Huniad, yn fwy nag 800,000 o wyr, o ba rai y cyfrifir fod rhwng 200,000 a 300,000 wedi cwympo ar y maes. Nid yw brwydrau mwyaf gwaed-

lyd yr oesau diweddar yn ymddangos mewn cymhariaeth iddynt ond fel ysgarmesau.

Bydd i ychydig engreifftiau egluro pa fath oedd delweddau a threfniadau rhai o'r "Llu Du."

Medd Jornandez, yr hanesydd Gothiaidd, "yr Huniaid drwy y braw a gynhyrfid gan eu gwynebpryd a yrent ar ffô rai nad allai eu gwroldeb byth eu darostwng. Yr oedd rhywbeth yn ddychrynllyd yn lliw dulas eu gwyneb; nid gwyneb ydoedd, ond talp o gnawd aflunaidd yn yr hwn yr oedd dau ysmotyn du, gwrthgas, yn llenwi y lle perthynol i lygaid. Nid golwg dynion oedd arnynt, ond anifeiliaid, yn sefyll ar eu coesau ol, megys pe buasent yn gwneuthur gwawd o'n rhywogaeth." Y dreth gyffredin a osodid gan yr anwariaid creulon hyn ar y gwledydd yr ymruthrent iddynt oedd nifer pennodol o ferched ieuainc, i'r dyben mewn golwg o leihau, os oedd bosibl, erchylldra yr hiliogaeth.

Ac medd Gibbon, "byddai yr Almaenwyr Thuringiaidd yn cigyddio eu gwystlon gan gystal a'r rhai a gymerent yn gaethweision. Cafodd deucant o wyryfon ieuainc eu dirboeni gyda chreulondeb arteithiol—tori eu cyrph yn ddarnau gyda meirch gwylltion, neu falurio eu hesgyrn dan bwys menni rholiedig, a gadael eu cyrph heb eu claddu ar y prif-ffyrdd yn ysglyfaeth i gŵn ac i fwlturiaid.

"Nid oedd breninoedd y tylwythau Almaenaidd," ysgrifena Sismondi, "yn nodedig am ddim ond am eu troseddau a'u drygioni. Yr oeddynt goruwch y gyfraith, a byddai yn anhawdd cael allan ym mhlith unrhyw ddosbarth o ddynion, ïe, ym mhlith y rhai hyny ag y mae cyfiawnder cyhoeddus wedi eu trosglwyddo i alltudiaeth, gynifer o engrheifftiau o droseddau erchyll, dirgel-lofruddiaethau, gwenwyniadau, ac uwchlaw y cwbl, brawd-laddiadau, ag a geid ym mhlith y teuluoedd breninol hyn yn ystod y bumed, chweched, a'r seithfed ganrifoedd. Yr oedd y cenedloedd Almaenaidd a lywodraethent arfer ag ystyried eu breninoedd yn hiliogaeth neillduedig, yn wahan-nodol oddiwrthynt hwy eu hunain gan eu gwallt hirllaes—yn hiliogaeth heb fod yn ddarostyngedig i'r unrhyw ddeddfau nac ychwaith yn cael eu cynhyrfu gan yr unrhyw deimladau. Yr oedd y breninoedd hyn drwy gadw eu hunain ym mhell oddiwrth bawb dynion eraill yn hynod am feddu enwau teuluol ac am gyd-ymbriodi â'u gilydd; ac iddynt hwy yr

wyr Paganaidd, Maximian, Maxentius, Maximus, a Licinius a roddasant i fyny yn olynol o flaen grym ei arfau buddugoliaethus. Cynnorthwywyd ef hyd y diwedd gyda ffyddlondeb rhyfeddol gan ei lengwyr y rhai a etholwyd yn benaf ym Mhrydain o'i diriogaethau etifeddol, fel rhai oeddynt Gristionogion perthynol i'r eglwys Brydeinig. Esiampl ei dad ydoedd ei arweinydd drwy ystod ei fywyd. Ymddygai tuag at Elen ei fam gyda'r parch a'r cariad mwyaf. Mae amcanion mawr ei fywyd yn cael eu hegluro yn dda ganddo yn un o'i gyhoeddebau gwladol. Dyma y geiriau,—"Yr ydym yn galw Duw yn dyst, yr hwn yw Iachawdwr pawb, pan yn ymaflyd yn awenau y llywodraeth, na chawsom erioed ein dylanwadu gan unrhyw ystyriaeth amgen na'r ddwy ystyriaeth yma—sef, uno ein holl diriogaethau mewn un ffydd, ac adferu heddwch i fyd a ddryllir yn ddarnau gan wallgofrwydd erlidigaeth crefyddol." Bu farw, ar ol bod am ddeunaw mlynedd yn unig lywodraethwr y byd Rhufeinig, yn ei balas yn agos i Nicopolis, yn o.c. 337. Yn nesaf at Arthur gellir ystyried Cystenyn fel y mwyaf o'r ymherawdwyr Brutanaidd. Efe a roddodd sefydliad gwladol i Gristionogaeth gyffredin gwledydd crêd. Yr oedd Esgobion o Brydain yn bresenol yn nghymanfäoedd Arles a Nice, a gynhaliwyd yn o.c. 314, ac yn o.c. 325, yn ystod ei deyrnasiad ef. Credo Catholic Nice, yr hwn a fabwysiadwyd mewn Cymanfa o Gristionogion holl wledydd crêd, gydag ymherawdwr brodorol o Brydain yn llywyddu, yw yr unig gredo, heblaw eiddo yr Apostolion, perthynol i'r hên eglwys Frutanaidd.

Yn o.c. 369, curodd Theodosius yn ol ymgyrch a wnaed gan y Pictiaid a'r Ysgotiaid. Wrth yr enw *Ysgotia*, cyn y nawfed ganrif, y meddylid Iwerddon, ac wrth yr enw Ysgotiaid, y Gwyddelod. Ar ol goresgyniad Gorllewinbarth Celyddon yn y seithfed ganrif gan yr Ysgotiaid Gyddelig, daeth y wlad yn raddol i gael ei hadnabod wrth eu henw.

Yn o.c. 383, cymerodd Macsen, gorŵyr Cystenyn Fawr, fantell borfforaidd yr ymherodraeth ym Mhrydain a phennododd ei fab Owen Finddu, yn Gaisar. O dan lywyddiaeth Macsen ac Elen merch Eudaf, Tywysog Cymru, ei wraig, ymadawodd yr olaf o'r "Tri Arianllu" o Brydain er goresgyn y Cyfandir. Gwnaeth Macsen Gynan o Bowys Meriadog, cefnder Elen, yn Frenin Llydaw. O hono ef y disgynodd llinach y Penaduriaid a'r Duciaid Bretonaidd, yr

yr oedd y Saeson gwedi sefydlu hynodrwydd goruwch y Gothiaid, Vandaliaid, neu yr Huniaid, am greulondeb ac annheimladrwydd yngwyneb perygl. O ran eu presenoldeb ymddangosol ym mhobman, a'u bod yn ofnadwy o herwydd eu sadrwydd greddfol, eu harfau effeithiol, a'u harferiad o wynebu eu gelynion yn golofnau trwchus, gallai eu rhuthrgyrch siglo atogwaith yr ymherodraeth Rufeinig pan yn uch-der ei gogoniant. Yr oedd y cyngrheiriad Saesonig, gan ymestyn oddiwrth eneuau y Rhine hyd y Môr Llychlyn Isaf, yn gynnwysedig o amrywiol dylwythau o'r ach Gothiaidd, y penaf o ba rai oeddynt y Saeson (*Sacæ*) y Jutiaid (*Getæ*), a'r Angliaid, y rhai a feddianent y diriogaeth ar dueddau deheuol a dê-orllewinol y Gerson Gymreig (*Denmark*). Yr oedd Gerson ei hun wedi cael ei phoblogi gan hiliogaeth yr hên Gymry, rhwng pa rai a'r Saeson yr oedd gelyniaeth angeuol yn bod. Drwy ymuno â thylwythau Scandinafiaidd Llychlyn daeth y rhai hyn yn Ddaniaid a Normaniaid y nawfed, ddegfed, a'r unfed-a'r-ddeg ganrifoedd, gan ddwyn gyda hwynt pa le bynag yr elent eu hên gasineb at eu cymydogion Saesonig. Ymleddodd y cyngrheiriad Saesonig yn ddwy gangen—un o honynt gan gymeryd cyfeiriad mewnol i'r wlad, a estynodd ei thiriogaethau ennilliadol cyn belled fel ag y dywed Eginhard, ysgrifenydd Siarlamaen, eu bod yn o.c. 800 yn cyfansoddi mwy nag un hanner o'r Almaen. Dyma oedd Saesonia y Cyfandir. Darostyngwyd ac ychwanegwyd hi at yr ymherodraeth Ffraingcaidd-Almaen-aidd gan Siarlamaen—wedi llwyr ddinystrio o'r bron ei phoblogaeth Saesonaidd. Y gangen arall a daflodd ei hun drwy ymgyrchoedd olynol o'r flwyddyn o.c. 420 hyd 580, ar Ynys Prydain —ac ym mhen 220 o flynyddoedd ar ol ei thiriad cyntaf yma (h. y. yn y chweched genedlaeth) trais-gipiodd y gangen hon y Bendragoniaeth neu yr uchafiaeth filwrol oddiar y Cymry, a chan ymgymysgu â'r Lloegriaid a'r Coraniaid Brutanaidd, a ddaeth yn brif-gyff y Saeson diweddar. Rhoddodd eu llywodraeth le yn o.c. 1014 dros amser i'r un Danaidd, ac yn barhäol i'r un Normanaidd yn 1066, megys y rhoddodd yr un Normanaidd le yn ei thro hithau i unbenaeth frodorol Prydain, yr hon a adferwyd yn 1485.

Mae y ffug-ddyfeisiau mwyaf afresymol wedi cael eu llunio er ceisio egluro dechreuad y Saeson. Nid oes un crybwylliad am danynt yn dygwydd mewn hanesyddiaeth

iogaeth i amddiffyn ei chyffiniau yn erbyn pob gormeswr. Yr oedd byddinoedd yr ymherodraeth mewn gwirionedd wedi eu barbareiddio—hyny yw, wedi eu codi o'r bron i gyd o fanau an-Rhufeinig, yn hir cyn ymddatodiad ei chyfansoddiad gwladol, ac yr oedd rhai o'i swyddogaethau mwyaf cyfrifol yn cael eu cyflawni gan wlad-weinyddion barbaraidd. Felly yr oedd Stilicho, ei gwleidiadydd a'i chadfridog callaf, yn un o'r Vandaliaid.

Yn o.c. 398, gwnaeth Alaric, y Gothiad, o hiliogaeth Balta, ymgais yn ei swydd fel pennaeth y fyddin amddiffynol Gothiaidd, am yr urddas o fod yn ben-cadfridog yr holl ymherodraeth. Gan fod yr anrhydedd hwn wedi ei roddi gan Honorius i Stilicho, Alaric, gan wrthod ei ffyddlondeb i'r llywodraeth, a ymosododd ar yr Eidal, ond drwy gynnorthwy y llengau Brutanaidd gorchfygwyd ef gan Stilicho, gyda lladdfa ddirfawr, yn Pollentia yn Lombardi. Ar ol ei orchfygu eilwaith yn Verona, tynodd Alaric ei luoedd yn ol, wedi eu lleihau i un rhan o dair mewn nifer, i anialdir yr Almaen. Yn 406, wedi i orlifiad newydd o wyr dan Rhadagisus groesi yr Alpau, y Po, a'r Apenniniaid gwarchaeasant ar Fflorence, ond dymchwelwyd hwynt ar Fryniau Fæsulæ gan y penlluyddwr Vandalaidd, gyda cholled am eu tywysydd ynghyda 140,000 o wyr. Y lleill, yn 250,000 o nifer, ac yn gynnwysedig o Sueviaid, Vandaliaid, Alaniaid, a Burgundiaid, a aethant dros yr Alpau, ac a yrasant y Ffranciaid ar ffô—i ba rai yr oedd amddiffyniad terfyn cyffiniol yr Almaen wedi ei ymddiried, gyda cholled am 20,000 o wyr, ac a aethant dros y Rhine, yr 31ain o Ragfyr, 406. Dinystriwyd Mentz; yspeiliwyd a llosgwyd Strasburg, Spires, Rheims, Tournay, Arras, ac Amiens. Y ddwy-dalaeth-a'r-bymtheg o eiddo Gâl hyd at waelod y Pyreniaid a ymostyngasant heb ail ymladdfa, o flaen grym eu harfau.

Mae y lluoedd a arllwysid yn barhaus am y ganrif a hanner dylynol, gan wledydd eang Gogledd Asia ac Ewrop ar warthaf y Dehau a'r Gorllewin bron yn angrhedadwy. Fel engraifft o'r raddfa ddirfawr ar ba un y dygid ym mlaen weithrediadau milwrol yn ystod yr amser yma, yr oedd y lluoedd ag oeddynt ar waith ym mrwydr Lyons, yn o.c. 448, rhwng Œtius ac Attill yr Huniad, yn fwy nag 800,000 o wyr, o ba rai y cyfrifir fod rhwng 200,000 a 300,000 wedi cwympo ar y maes. Nid yw brwydrau mwyaf gwaed-

Cyrhaeddodd y newydd am gwymp Gâl i Brydain yn gynnar yng ngwanwyn y flwyddyn ganlynol. Adferwyd yr annibyniaeth Frutanaidd heb ond ychydig os dim o deimlad gelynol tuag at yr Hên Ymherodraeth. Yr oedd elfen Rufeinig lled fawr yn rhedeg drwy y boblogaeth—yr oedd llawer o'r prif bendefigion o waed Brutanaidd-Rhufeinig, ac nid allent ardremio heb gyffröad ar y dinystr ag oedd wedi ei daenu dros wyneb y rhan decaf o'r Cyfandir gan y minteioedd Paganaidd. Galwyd Cystenyn i dywys y fyddin Frutanaidd er gwaredigaeth Gâl. Glâniodd yn Boulogne yn Mehefin, 407; gorchfygodd y Suefiaid yn Amiens; aeth ym mlaen i Paris, ac yno derbyniodd ymostyngiad holl Gâl o'r ochr ogleddol i'r afon Loire. Ond yn y deheubarth cyfarfyddodd a dau wrthdröad—sef cwymp un o'i gadfridogion, o'r enw Estyn, drwy fradwriaeth, a chwymp un arall o'r enw Nevigastes ar y maes. Yn 408, Awst 23, cafodd Stilicho yr hwn, oddigerth Œtius a Belisarius, oedd bencampwr olaf Rhufain, ei ddirgel-lofruddio dan Sarus, drwy annogaeth yr ymherawdwr bawaidd Honorius. Yr oedd ef ychydig cyn hyny wedi cynghori y senedd yn ddifrifol i sicrhau i'r ymherodraeth wasanaeth Alaric, y Gothiad, am daledigaeth blynyddol o 4,000 o bwysau o aur. Derbyniwyd y cynghor, a gorchymynwyd i Alaric fyned ar ymdaith yn erbyn Cystenyn, yr hwn oedd y pryd hyn wedi ei gyhoeddi yn ymherawdwr y Gorllewin; yn lle hyny, pan glywodd am farwolaeth Stilicho, ymsymudodd yn erbyn Rhufain. Ond darbwyllwyd ef drwy bridwerth dirfawr i droi ymaith, ac efe a aeth uwchben 100,000 o wyr a 40,000 o gaethion rhyddhäol i Lombardi. Gan fod Sarus yn y cyfamser wedi cael ei orchfygu gan Cystenyn yn Vienne, cyhoeddodd yr Hispaen a minteioedd Honorius ei hunain o ochr y brenin Brutanaidd, yr hwn fel hyn a deyrnasai, heb un cydymgeisiwr, oddiwrth ynysoedd gorllewinol yr Alban hyd Gibraltar, nid yn unig ar yr hên boblogaethau Rhufeinig, ond ar y goresgynwyr barbaraidd diweddar eu hunain. Cydnabyddodd Honorius ef yn awr fel Augustus —cyd-ranodd yr ymherodraeth Orllewinol ag ef, ac a ddymunodd gael ei gynorthwy er cilgwthio yr ail ymosodiad a fwriedid wneuthur gan Alaric yn erbyn Rhufain. Croesoedd Cystenyn yr Alpau; ac fel yr oedd yn dyfod ym mlaen enciliodd Alaric y Gothiad i'r Almaen. Bu cynnadledd rhwng y ddau ymherawdwr ym Milan, ar ol pa un dychwel-

odd Cystenyn i Gâl. Yr oedd un gangen o'r Freninlin Frutanaidd—sef teulu Cystenyn Fawr—wedi bod weithian yn llywodraethu yr ymherodraeth Ddwyreiniol am gàn mlynedd; ac nid aeth o afael rhwysg eu hiliogaeth am fil arall o flynyddoedd, hyd o.c. 1465. Gallasai cangen arall, pe defnyddiasai Cystenyn ei lwyddiant gyda dyfalwch, drosglwyddo i lawr orsedd y Gorllewin i'w hiliogaeth bellenig, ac fel hyn ranu yr hên fyd Rhufeinig rhyngddynt. Yn o.c. 410, cynghorwyd Cystenyn mor feius fel ag i bennodi ei fab Constans i gymeryd lle ei gadfridog galluog, Geraint, Duc Cernyw, yr hwn oedd wedi cael ei bennodi ganddo yn rhaglaw yr Hispaen—pan oedd Alaric o gylch yr un amser yn cymeryd Rhufain (Awst 24), gan ei gadael am dri diwrnod i gynddaredd ei farbariaid. Geraint gan droi yn wrthryfelgar a groesodd y mynyddoedd Pyrenaidd, daeth i gyfarfod Cystenyn a Constantius, cadfridog Honorius, yn Arles, wedi cael ei orchfygu, rhoddodd derfyn ar ei fywyd ei hun. Trengodd blodau y llengau Brutanaidd yn y frwydr hon. Gan i doriad heddwch o'r newydd gymeryd lle gyda Honorius, gorchfygwyd Cystenyn gan Constantius ac Ulphilas, a rhoddwyd ef i farwolaeth yn ddirgelaidd, ynghyd â'i fab hynaf Julian, Tach. 11eg, 411. Dychweloddd rhan o'r fyddin Frutanaidd i Brydain, ac ymsefydlodd rhan o honi yn Llydaw.

Cystenyn oedd y trydydd benadur Brutanaidd yn ystod càn mlynedd a groesodd y Môr Udd ac a deyrnasodd ym Mharis, fel ag yr oedd Wellington a'r fyddin Frutanaidd ar Ffraingc, o 1815—21.

Ar ol Cystenyn daeth ei ail fab Constans i'r orsedd yn o.c. 412. Bu ei berthynas Gwrtheyrn, yr hwn oedd yn meddianu etifeddiaethau mawrion yn y rhan fwyaf o barthau y deyrnas, yn achos iddo gael ei ddirgel-lofruddio gan ei warchluoedd Pictiaidd, yn o.c. 420; ond cafodd dau fab ieuengaf Cystenyn, sef Emrys ac Uthyr, eu gwaredu oddiwrth gyffelyb dynged drwy ffoi yn gyflym i Llydaw. Gwrtheyrn, mewn cymanfa gyhoeddus, fel Risiart III. a Napoleon mewn amseroedd diweddarach, a osododd y goron ar ei ben ei hun. Mae cymeriad Gwrtheyrn, yr ail o garn-fradwyr Ynys Prydain, yn cael ei ddarlunio yn y lliwiau duaf gan yr haneswyr Brutanaidd; ac hyd yn oed yn awr ni chrybwyllir ei enw ond anfynych heb ryw gyfenw o gasineb a melldith ynglŷn ag ef. Ymddengys ei fod ef mewn gwirionedd yn

Cyrhaeddodd y newydd am gwymp Gâl i Brydain yn gynnar yng ngwanwyn y flwyddyn ganlynol. Adferwyd yr annibyniaeth Frutanaidd heb ond ychydig os dim o deimlad gelynol tuag at yr Hên Ymherodraeth. Yr oedd elfen Rufeinig lled fawr yn rhedeg drwy y boblogaeth—yr oedd llawer o'r prif bendefigion o waed Brutanaidd-Rhufeinig, ac nid allent ardremio heb gyffröad ar y dinystr ag oedd wedi ei daenu dros wyneb y rhan decaf o'r Cyfandir gan y minteioedd Paganaidd. Galwyd Cystenyn i dywys y fyddin Frutanaidd er gwaredigaeth Gâl. Glàniodd yn Boulogne yn Mehefin, 407; gorchfygodd y Suefiaid yn Amiens; aeth ym mlaen i Paris, ac yno derbyniodd ymostyngiad holl Gâl o'r ochr ogleddol i'r afon Loire. Ond yn y deheubarth cyfarfyddodd a dau wrthdröad—sef cwymp un o'i gadfridogion, o'r enw Estyn, drwy fradwriaeth, a chwymp un arall o'r enw Nevigastes ar y maes. Yn 408, Awst 23, cafodd Stilicho yr hwn, oddigerth Œtius a Belisarius, oedd bencampwr olaf Rhufain, ei ddirgel-lofruddio dan Sarus, drwy annogaeth yr ymherawdwr bawaidd Honorius. Yr oedd ef ychydig cyn hyny wedi cynghori y senedd yn ddifrifol i sicrhau i'r ymherodraeth wasanaeth Alaric, y Gothiad, am daledigaeth blynyddol o 4,000 o bwysau o aur. Derbyniwyd y cynghor, a gorchymynwyd i Alaric fyned ar ymdaith yn erbyn Cystenyn, yr hwn oedd y pryd hyn wedi ei gyhoeddi yn ymherawdwr y Gorllewin; yn lle hyny, pan glywodd am farwolaeth Stilicho, ymsymudodd yn erbyn Rhufain. Ond darbwyllwyd ef drwy bridwerth dirfawr i droi ymaith, ac efe a aeth uwchben 100,000 o wyr a 40,000 o gaethion rhyddhäol i Lombardi. Gan fod Sarus yn y cyfamser wedi cael ei orchfygu gan Cystenyn yn Vienne, cyhoeddodd yr Hispaen a minteioedd Honorius ei hunain o ochr y brenin Brutanaidd, yr hwn fel hyn a deyrnasai, heb un cydymgeisiwr, oddiwrth ynysoedd gorllewinol yr Alban hyd Gibraltar, nid yn unig ar yr hên boblogaethau Rhufeinig, ond ar y goresgynwyr barbaraidd diweddar eu hunain. Cydnabyddodd Honorius ef yn awr fel Augustus —cyd-ranodd yr ymherodraeth Orllewinol ag ef, ac a ddymunodd gael ei gynorthwy er cilgwthio yr ail ymosodiad a fwriedid wneuthur gan Alaric yn erbyn Rhufain. Croesoedd Cystenyn yr Alpau; ac fel yr oedd yn dyfod ym mlaen enciliodd Alaric y Gothiad i'r Almaen. Bu cynnadledd rhwng y ddau ymherawdwr ym Milan, ar ol pa un dychwel-

odd Cystenyn i Gâl. Yr oedd un gangen o'r Freninlin Frutanaidd—sef teulu Cystenyn Fawr—wedi bod weithian yn llywodraethu yr ymherodraeth Ddwyreiniol am gàn mlynedd; ac nid aeth o afael rhwysg eu hiliogaeth am fil arall o flynyddoedd, hyd o.c. 1465. Gallasai cangen arall, pe defnyddiasai Cystenyn ei lwyddiant gyda dyfalwch, drosglwyddo i lawr orsedd y Gorllewin i'w hiliogaeth bellenig, ac fel hyn ranu yr hên fyd Rhufeinig rhyngddynt. Yn o.c. 410, cynghorwyd Cystenyn mor feius fel ag i bennodi ei fab Constans i gymeryd lle ei gadfridog galluog, Geraint, Duc Cernyw, yr hwn oedd wedi cael ei bennodi ganddo yn rhaglaw yr Hispaen—pan oedd Alaric o gylch yr un amser yn cymeryd Rhufain (Awst 24), gan ei gadael am dri diwrnod i gynddaredd ei farbariaid. Geraint gan droi yn wrthryfelgar a groesodd y mynyddoedd Pyrenaidd, daeth i gyfarfod Cystenyn a Constantius, cadfridog Honorius, yn Arles, wedi cael ei orchfygu, rhoddodd derfyn ar ei fywyd ei hun. Trengodd blodau y llengau Brutanaidd yn y frwydr hon. Gan i doriad heddwch o'r newydd gymeryd lle gyda Honorius, gorchfygwyd Cystenyn gan Constantius ac Ulphilas, a rhoddwyd ef i farwolaeth yn ddirgelaidd, ynghyd â'i fab hynaf Julian, Tach. 11eg, 411. Dychweledd rhan o'r fyddin Frutanaidd i Brydain, ac ymsefydlodd rhan o honi yn Llydaw.

Cystenyn oedd y trydydd benadur Brutanaidd yn ystod càn mlynedd a groesodd y Môr Udd ac a deyrnasodd ym Mharis, fel ag yr oedd Wellington a'r fyddin Frutanaidd ar Ffraingc, o 1815—21.

Ar ol Cystenyn daeth ei ail fab Constans i'r orsedd yn o.c. 412. Bu ei berthynas Gwrtheyrn, yr hwn oedd yn meddianu etifeddiaethau mawrion yn y rhan fwyaf o barthau y deyrnas, yn achos iddo gael ei ddirgel-lofruddio gan ei warchluoedd Pictiaidd, yn o.c. 420; ond cafodd dau fab ieuengaf Cystenyn, sef Emrys ac Uthyr, eu gwaredu oddiwrth gyffelyb dynged drwy ffoi yn gyflym i Llydaw. Gwrtheyrn, mewn cymanfa gyhoeddus, fel Risiart III. a Napoleon mewn amseroedd diweddarach, a osododd y goron ar ei ben ei hun. Mae cymeriad Gwrtheyrn, yr ail o garn-fradwyr Ynys Prydain, yn cael ei ddarlunio yn y lliwiau duaf gan yr haneswyr Brutanaidd; ac hyd yn oed yn awr ni chrybwyllir ei enw ond anfynych heb ryw gyfenw o gasineb a melldith ynglŷn ag ef. Ymddengys ei fod ef mewn gwirionedd yn

dynesu yn agos iawn at y cymeriad a ystyrir yn gyffredin yn ddychymygol—sef anghenfil am ddrygioni yr hwn ni wnaed iawn gan un weithred o rinwedd.

Yn o.c. 430, torodd y Saeson, y Pictiaid, a'r Gwyddelod drwy Fur Severus, wrth Thirwal, anrheithiasant y wlad, a gwarchaëasant ar Gaerlleon ar Ddyfrdwy. Ond St. Garmon, brawd-yng-hyfraith brenin Brutanaidd Llydaw, yr hwn oedd ar waith ar y pryd yn ceisio atal lledaeniad yr heresi Forganaidd, a gyhoeddwyd gyntaf gan Morgan neu Morien, arlywydd Bangor Iscoed, a arweiniodd y fyddin Frutanaidd i'w herbyn, ac a'u gorchfygodd hwynt yn hollol ar Faes Garmon, wrth afon Alun, yn agos i dref y Wyddgrug. Yn o.c. 435, ysgymunwyd Gwrtheyrn yn gyhoeddus gan yr un esgob dewr mewn cynghorfa o eiddo Eglwys Prydain yn St. Alban, am fod yn euog o losgach gyda'i ferch ei hun. O'r amser yma, cynlluniodd y bradwr alw i mewn y cyngrheiriad Saesonaidd i ymwneyd â gorchwylion gwladol Prydain. Ym moreu ei fywyd yr oedd wedi bod yn gwasanaethu ym myddinoedd Valentinian gyda dau o'r teyrn-benaethiaid Saesonaidd mwyaf hynodedig, o hiliogaeth edmygol Odin—dau frawd, sef Hengist a Horsa. Dechreuwyd ymohebu yn ddirgelaidd gyda hwynt. Gwelsom yn barod fod yr arferiad o gymeryd i'w gwasanaeth gyflogedigion barbaraidd un genedl i warchluyddu y cyffiniau yn erbyn rhuthriadau cenedl arall, wedi cael ei sefydlu er ys amser maith yn yr ymherodraeth Rufeinig; ond dyma yr engraifft gyntaf o'r fath ym Mhrydain. Darfu rhuthriad o eiddo y Pictiaid, a gefnogid gan Gwrtheyrn, ddwyn i law y rhithesgus a ddymunid. Tiriodd Hengist a Horsa yn Thanet (ynys Ruthyn), rhwng pa un a'r tir, mor ddiweddar ag amser Bede, y rhedai y Wantsum, yn chwechant-a-pump-a'r-hugain o latheni o lêd ac yn rhydiol ond mewn dau fan yn unig. Tiriodd llu arfog arall wrth enau y Nen, yn agos i Peterborough. A chan ymuno â'u gilydd, hwy a orchfygasant y Pictiaid yn Stamford, yn agos i Lincoln.

Alis, merch Hengist, a elwid Rhonwen, (y fron wen, Rowena, Ronixa,) yn y lawen-wledd a roddid er mawrygu y fuddugoliaeth a gafwyd wrth gastell Chilham, yng Nghaint, a gynhyrfodd draserch mawr yng nghalon y gorphwyllog Wrtheyrn. Er mwyn ei chael yn wraig, efe a roddodd dywysogaeth Caint i'w dad-yng-hyfraith, sef Hengist. Yna Gorangon, y tywysog a ddifeddianesid, a apeliodd am iawn-

deb at yr orsedd genedlaethol. Ac er gwaethaf dylanwad nerthol y llŷs, neu blaid Gwrtheyrn, gorchymynwyd i'r Saeson ymadael o Brydain—diorseddwyd Gwrtheyrn mewn modd difrifol, a derchafwyd ei fab hynaf Gwrthefyr, i'r orsedd ac i'r Bendragoniaeth. Hengist gan fyned i gyngrhair â'r Gwyddelod Cochion a'r Pictiaid, a gymerodd y maes yn Aylesford, yn swydd Caint, yn y flwyddyn o.c. 455, pan yr ymosodwyd arno gan y fyddin Frutanaidd dan Gwrthefyr a'i frawd Cyndeyrn. Cwympodd Horsa a Cyndeyrn mewn ymladdfa dau fywyd, a gorchfygwyd Hengist. Tair dymchweliad Saesonig yn ychwaneg yn Crayford, Stone, a Thanet (yn o.c. 457—62,) a barodd iddynt yn y lle diweddaf a enwyd ymddarostwng ar yr amod o gael caniatâd i ddychwelyd gyda'u gwragedd a'u plant i'r Cyfandir.

Yn o.c. 463, bu farw Gwrthefyr, wedi ei wenwyno gan Rhonwen. Yn ol ei ddymuniad pan ym marw codwyd ei feddrod ar y fan yn ynys Thanet, o ba le yr oedd wedi cymeryd yr olwg ddiweddaf ar longau ymadawol y gormeswyr. Mewn Gorsedd neillduol yn Llundain, gosodwyd Gwrtheyrn eilwaith ar y freninfaingc—ail "anfad gyngor Ynys Prydain." Ail wahoddwyd Hengist i ddyfod yma ar yr amod na ddeuai gyda mwy na phump cant o wyr fel ei osgorddlu. Ond beth bynag, glâniodd Ebusa, yr hwn oedd frawd i Hengist, gyda'i fab Octa, ym môr-nant y Forth, gyda thri chant o longau arfog. Rhuthrodd y genedl Frutanaidd dan arfau. Cynnygiodd Hengist ar i gynnadledd gael ei chynnal, a chymeradwyid hyny gan Gwrtheyrn. Cynnaliwyd hi yn Nghaer Caradawg, ac yr oedd y rhan fwyaf o bendefigion Prydain yno. Ar y chweched dydd, yn y brif wledd, pan oedd yr haul yn tynu at fachludo, cyflawnwyd "Cyflafan y Cyllill Hirion"—y drosedd dduaf, oddigerth cyflafan St. Bartholomew, ac a geir yng nghôfysgrifau unrhyw genedl. Yr arwydd i'r Saeson fod yn barod i blanu eu cyllill, ag oeddynt yn guddiedig yn eu botasau a thân eu côbau milwrol, ym mynwesau eu gorchfygwyr dewrwych a diddrygdyb, ydoedd "Bydded i ni yn awr siarad am gyfeillgarwch a chariad." A'r arwydd i gyflawni y weithred ydoedd y geiriau, "*Nemet yoar Saxas,*" h.y. "Allan â'ch cyllill," a derchafiad baner Hengist—sef march gwyn ar glawr côch—goruwch pen Gwrtheyrn. Cwympodd pedwar cant a phedwar ugain o wroniaid Cristionogol Prydain cyn machlud haul drwy ddwylaw y dirgel-

dynesu yn agos iawn at y cymeriad a ystyrir yn gyffredin yn ddychymygol—sef anghenfil am ddrygioni yr hwn ni wnaed iawn gan un weithred o rinwedd.

Yn o.c. 430, torodd y Saeson, y Pictiaid, a'r Gwyddelod drwy Fur Severus, wrth Thirwal, anrheithiasant y wlad, a gwarchaëasant ar Gaerlleon ar Ddyfrdwy. Ond St. Garmon, brawd-yng-hyfraith brenin Brutanaidd Llydaw, yr hwn oedd ar waith ar y pryd yn ceisio atal lledaeniad yr heresi Forganaidd, a gyhoeddwyd gyntaf gan Morgan neu Morien, arlywydd Bangor Iscoed, a arweiniodd y fyddin Frutanaidd i'w herbyn, ac a'u gorchfygodd hwynt yn hollol ar Faes Garmon, wrth afon Alun, yn agos i dref y Wyddgrug. Yn o.c. 435, ysgymunwyd Gwrtheyrn yn gyhoeddus gan yr un esgob dewr mewn cynghorfa o eiddo Eglwys Prydain yn St. Alban, am fod yn euog o losgach gyda'i ferch ei hun. O'r amser yma, cynlluniodd y bradwr alw i mewn y cyngrheiriad Saesonaidd i ymwneyd â gorchwylion gwladol Prydain. Ym moreu ei fywyd yr oedd wedi bod yn gwasanaethu ym myddinoedd Valentinian gyda dau o'r teyrn-benaethiaid Saesonaidd mwyaf hynodedig, o hiliogaeth edmygol Odin—dau frawd, sef Hengist a Horsa. Dechreuwyd ymohebu yn ddirgelaidd gyda hwynt. Gwelsom yn barod fod yr arferiad o gymeryd i'w gwasanaeth gyflogedigion barbaraidd un genedl i warchluyddu y cyffiniau yn erbyn rhuthriadau cenedl arall, wedi cael ei sefydlu er ys amser maith yn yr ymherodraeth Rufeinig; ond dyma yr engraifft gyntaf o'r fath ym Mhrydain. Darfu rhuthriad o eiddo y Pictiaid, a gefnogid gan Gwrtheyrn, ddwyn i law y rhithesgus a ddymunid. Tiriodd Hengist a Horsa yn Thanet (ynys Ruthyn), rhwng pa un a'r tir, mor ddiweddar ag amser Bede, y rhedai y Wantsum, yn chwechant-a-pump-a'r-hugain o latheni o lêd ac yn rhydiol ond mewn dau fan yn unig. Tiriodd llu arfog arall wrth enau y Nen, yn agos i Peterborough. A chan ymuno â'u gilydd, hwy a orchfygasant y Pictiaid yn Stamford, yn agos i Lincoln.

Alis, merch Hengist, a elwid Rhonwen, (y fron wen, Rowena, Ronixa,) yn y lawen-wledd a roddid er mawrygu y fuddugoliaeth a gafwyd wrth gastell Chilham, yng Nghaint, a gynhyrfodd draserch mawr yng nghalon y gorphwyllog Wrtheyrn. Er mwyn ei chael yn wraig, efe a roddodd dywysogaeth Caint i'w dad-yng-hyfraith, sef Hengist. Yna Gorangon, y tywysog a ddifeddianesid, a apeliodd am iawn-

deb at yr orsedd genedlaethol. Ac er gwaethaf dylanwad nerthol y llŷs, neu blaid Gwrtheyrn, gorchymynwyd i'r Saeson ymadael o Brydain—diorseddwyd Gwrtheyrn mewn modd difrifol, a derchafwyd ei fab hynaf Gwrthefyr, i'r orsedd ac i'r Bendragoniaeth. Hengist gan fyned i gyngrhair â'r Gwyddelod Cochion a'r Pictiaid, a gymerodd y maes yn Aylesford, yn swydd Caint, yn y flwyddyn o.c. 455, pan yr ymosodwyd arno gan y fyddin Frutanaidd dan Gwrthefyr a'i frawd Cyndeyrn. Cwympodd Horsa a Cyndeyrn mewn ymladdfa dau fywyd, a gorchfygwyd Hengist. Tair dymchweliad Saesonig yn ychwaneg yn Crayford, Stone, a Thanet (yn o.c. 457—62,) a barodd iddynt yn y lle diweddaf a enwyd ymddarostwng ar yr amod o gael caniatâd i ddychwelyd gyda'u gwragedd a'u plant i'r Cyfandir.

Yn o.c. 463, bu farw Gwrthefyr, wedi ei wenwyno gan Rhonwen. Yn ol ei ddymuniad pan ym marw codwyd ei feddrod ar y fan yn ynys Thanet, o ba le yr oedd wedi cymeryd yr olwg ddiweddaf ar longau ymadawol y gormeswyr. Mewn Gorsedd neillduol yn Llundain, gosodwyd Gwrtheyrn eilwaith ar y freninfaingc—ail "anfad gyngor Ynys Prydain." Ail wahoddwyd Hengist i ddyfod yma ar yr amod na ddeuai gyda mwy na phump cant o wyr fel ei osgorddlu. Ond beth bynag, glàniodd Ebusa, yr hwn oedd frawd i Hengist, gyda'i fab Octa, ym môr-nant y Forth, gyda thri chant o longau arfog. Rhuthrodd y genedl Frutanaidd dan arfau. Cynnygiodd Hengist ar i gynnadledd gael ei chynnal, a chymeradwyid hyny gan Gwrtheyrn. Cynnaliwyd hi yn Nghaer Caradawg, ac yr oedd y rhan fwyaf o bendefigion Prydain yno. Ar y chweched dydd, yn y brif wledd, pan oedd yr haul yn tynu at fachludo, cyflawnwyd "Cyflafan y Cyllill Hirion"—y drosedd dduaf, oddigerth cyflafan St. Bartholomew, ac a geir yng nghôfysgrifau unrhyw genedl. Yr arwydd i'r Saeson fod yn barod i blanu eu cyllill, ag oeddynt yn guddiedig yn eu botasau a thàn eu côbau milwrol, ym mynwesau eu gorchfygwyr dewrwych a diddrygdyb, ydoedd "Bydded i ni yn awr siarad am gyfeillgarwch a chariad." A'r arwydd i gyflawni y weithred ydoedd y geiriau, "*Nemet yoar Saxas,*" h.y. "Allan â'ch cyllill," a derchafiad baner Hengist—sef march gwyn ar glawr côch—goruwch pen Gwrtheyrn. Cwympodd pedwar cant a phedwar ugain o wroniaid Cristionogol Prydain cyn machlud haul drwy ddwylaw y dirgel-

lofruddion paganaidd—un yn unig o nodwedd hynodol, sef Eidiol Iarll Caerloyw, a lwyddodd i ddiango, drwy nerth grymus corph a phresenoldeb meddwl heb ei fath. Yr oedd Offeiriaid, Breningenadwyr, Beirdd, a blagurau mabaidd llawer o deuluoedd pendefigaidd, wedi eu pentyru ynghŷd yn un golygiad dychrynllyd ar safle y wledd, (Moel Efwr,) o ddeutu tri chant o latheni i'r gogledd oddiwrth y deml fawr Dderwyddol. Ni chafodd yr erchyllrwydd a gynnyrchwyd drwy y weithred ddigyffelyb hon o dwyll byth ei ddileu oddiar feddwl y Cymry. O hyny allan daeth yr ymadrodd "Marwolaeth i'r gwr a ymddiriedo yn yr estron" yn arwyddair rhyfel, ac mewn perthynas i'r tylwyth hynaf, sef y Cymry, gellir dweyd iddynt barhau felly oddieithr am yspaidiau byrion hyd esgyniad y Tuduriaid i'r orsedd. Rhoddwyd galwad i Emrys Wledig ac Uthyr i ddyfod yma o Lydaw. Ac ymgasglodd y genedl at eu baner. Gwrtheyrn yr hwn oedd wedi ymguddio yng nghilfachau mynydd Eryri rhag yr ystorm o gasineb cenedlaethol, a warchaëwyd, a chyda Rhonwen a'i brif ymlynwyr a losgwyd, yn agos i Nefyn, yn swydd Caernarfon. Cymerwyd Hengist ei hun yn garcharor ym mrwydr Maesbeli, profwyd a dienyddiwyd ef fel dirgel-lofrudd, yn Coningsburgh, yn swydd Efrog—a elwid felly *King'sburg*, oddiwrth y clawdd a godwyd arno ef. Ym mhen ychydig amser ar ol hyny rhoddodd Octa ac Ebasa, y rhai oeddynt wedi ffoi i ddinas Efrog, eu hunain i fyny gyda chadwynau yn eu dwylaw a thywod ar eu penau, gan ddatgan "fod eu duwiau hwy wedi eu gorchfygu gan dduw y Brutaniaid." Cawsant eu sefydlu fel argae yn erbyn y Pictiaid wrth fôr-nant y Forth. Oddi wrthynt hwy y disgyna yr Albaniaid Lothianaidd.

Mae Cronicl y Saeson, y gwaith ar ba un y bu y chwedl Saesonig o barth y trefedigaethiad Teutoniaidd o Loegr yn gorphwys hyd yn hyn, yn cael ei wrthod gan yr haneswyr Saesonig diweddaraf fel cyfansoddiad ffugiol o eiddo Mynachod Awstinaidd Caer Caint. Dywed Kemble, (Hanes yr Angliaid Saxonaidd, tu dal. 16) "Po fwyaf yr wyf yn chwilio y pwngc, mwyaf cyflawn yr wyf yn cael fy argyhoeddi fod yr hanesion derbyniol am yr ymfudiadau Saxonaidd, eu ffodion dylynol, a'u hymsefydliad yn y diwedd, yn amddifad o wirionedd hanesiol ym mhob adroddiad." Mae yr ymwrthodiad hwn gan yr haneswyr Saesonig o'u hawduron eu hunain yn amgylchiad tra rhyfedd a dyrysedig, yn ein

gadael naill ai heb sail yn y byd, neu un berffaith Frutanaidd i'r rhan yma o'n hanesiaeth. Mae'n sicr, megys yr addefir gan Kemble mewn lle arall, mai plentyn yn gynrywiol i Rufain Babaidd oedd Prydain Saesonaidd, fel yr Eglwys Saesonaidd—mai ei chlerigwyr hi oeddynt gêlgennadwyr Rhufain, ac nad yw yr hyn a elwir genym yn hanesion Saesonig, yn ddim arall ond ysgrifeniadau Mynachod Eglwys Rhufain, wedi eu cynhyrfu gan yspryd o gasineb a ffalsedd dirfawr tuag at wladgarwch ac Eglwys Prydain. Ni ddygodd y Saeson eu hunain un math o wyddor ieithyddol gyda hwynt i Brydain—ond mabwysiadent wyddor y Cymry; y rhan fwyaf o'r geiriau amaethyddol, teuluol, a gwladyddol, a dybir eu bod yn Saesonig, ydynt eiriau Lloegriaidd Brutanaidd trwyadl, heb eu cyfnewid er amser Caisar. Y Mynachod Awstinaidd a ddygasant y wyddor Rufeinig i mewn i'r wlad yma. O barth byrdra mawr eu gwybodaeth yn y Lladin ei hun, gellir difynu y penran cyntaf yn y Cronicl Saesonig fel prawf o hyny. Wrth gamddeall "*hyberna*" am Hibernia, maent yn anfon Caisar ar ol ei ryfelgyrch cyntaf ym Mhrydain i'r Iwerddon yn lle i'w orsafau gauafol. Mor ddiweddar a'r flwyddyn O.C. 878, nis gallai Alfred gael chwech o offeiriaid drwy holl wlad y Saeson, yn alluog i ddarllen ac ysgrifenu Lladin, ac yr oedd dan orfod myned at yr Eglwys Frutanaidd er cael deddfroddwr ac athraw (sef Asser, esgob Ty Ddewi) i'w ddeiliaid anwybodus. Gan adael, beth bynag, y pyngciau hyn i gael eu penderfynu gan yr haneswyr Saesonig eu hunain, bydd i ni yma cyn myned ym mlaen gyda yr hanes Frutanaidd, roddi i'r darllenydd yr adroddiad Saesonig neu Awstinaidd, a dderbyniwyd hyd yn hyn fel gwirionedd, o barth llwydd arfau y Saeson, wedi ei dalfyru o'u Brut gwladol.

"Yn O.C. 449, mae Hengist a Horsa yn tirio ym Mhrydain; gwahoddant yr Angliaid i ddyfod yma—y maent yn darlunio rhysedd y Brutaniaid, a brasder y tir. Yna daeth y tri gallu Almaenaidd yma—sef, yr Angliaid, y Jutiaid, a'r Saesoniaid. Yn 455, bu Hengist a Horsa yn ymladd â'r Brutaniaid yn Aylesford. Lladdwyd Horsa Yn 457, bu Hengist a'i fab Esc yn ymladd â'r Brutaniaid yn Wippensfleet, a lladdasant ddeuddeg o gadfridogion, oll yn Gymry. Lladdwyd Wipped y Thaniad. Yn 473, bu Hengist ac Esc yn ymladd â'r Cymry (Brutaniaid.) Yn 477, daeth Ella i Brydain, a bu yn ymladd â'r Cymry yn Cymershore. Yn 485, bu Ella yn ymladd â'r Cymry ym Mercredslum. Yn 490, cymerodd Ella a Cissa ddinas Andred (*Pevensey*,) ac ni adawsant un Brutwn yn fyw ynddi. Yn 495, tiriodd Cerdic a Cynric yn Cerdics-ora ac a ymladdasant â'r Cymry yr un diwrnod. Yn

501, tiriodd Porta, Beda, a Mela yn Llongborth, (Portsmouth,) ac ymladdasant â'r Cymry, a lladdasant Frutwn ieuanc o uchelradd. Yn 508, lladdodd Cerdic a Cynric y brenin Brutanaidd, Nathan Leod, a phum mil o wyr gydag ef. Yn 510, tiriodd Stuff a Wightgar yn Cerdics-ora ac ymladdasant â'r Cymry. Yn 519, bu Cerdic a Cynric yn ymladd â'r Cymry yn Cerdicsley."

Yma—sef yr amser a gymerid i fyny gan deyrnasiad a Phendragoniaeth Arthur, y mae gwagle hanesol o dair-blynedd-ar-ddeg-a'r-hugain yn dylyn, —a gyfenwir yn wawdgar gan Gibbon, yn "ddystawrwydd call" yr haneswyr Saesonaidd.

"Yn o.c. 552, bu Cynric yn ymladd â'r Brutaniaid yn Sarum. Yn 556, bu Ceaulin a Cynric yn ymladd â'r Brutaniaid yn Banbury. Yn 571, bu Cuthulf yn ymladd â'r Brutaniaid yn Bedford. Yn 577, bu Ceaulin yn ymladd â'r Brutaniaid yn Dereham. Yn 584, bu Ceaulin a Cutha yn ymladd â'r Brutaniaid yn Frethern. Yn 591, ymladdwyd brwydr fawr yn Wanborough, ac ymlidiwyd Ceaulin allan o'r deyrnas gan y Brutaniaid. Yn 597, y dechreuodd Ceolwulf deyrnasu, ac ymladdodd yn barhaus â'r Cymry. Y flwyddyn hon y daeth Awstin a'i gymdeithion i Loegr. Yn 607, arweiniodd Ethelffrith, brenin Northumbria, ei fyddin i Gaerlleon ar Dwy, lle y lladdodd lu aneirif o'r Cymry, ac felly cyflawnwyd proffwydoliaeth Awstin,—'Os na fŷn y Cymry heddwch â ni, hwy a gânt farw dan ddwylaw y Saeson.' Lladdwyd yno 1200 o offeiriaid, y rhai a ddaethant yno i weddio am lwydd byddin y Cymry, (cyflafan Bangor-is-coed.) Yn 614, bu Cynegils a Cwichelm yn ymladd yn erbyn y Cymry yn Bampton. Yn 633, y lladdwyd Edwin brenin Northumberland gan Cadwallon y Brutwn a Phenda, ar y 14eg o Hydref. Cafodd ei fab Osffrid ei ladd gydag ef. Anrheithiodd Cadwallon a Phenda yr holl wledydd ar du gogleddol yr afon Hymyr. Yn 642, lladdwyd Oswald brenin y Northumbriaid yn Maserfield (Croes Oswallt) Claddwyd ei gorph yn Enlli. Yn 645, cafodd y brenin Kenwal ei fwrw ymaith. Yn 651, lladdwyd y brenin Oswin. Yn 652, lladdwyd y brenin Anna. Yn 655, lladdwyd y brenin Penda a deg-a'r-hugain o dywysogion gydag ef yn Wingfield. Daeth y Mersiaid yn Gristionogion. Yn 661, gwnaed gwyr Ynys Wyth yn Gristionogion Yn 664, dechreuodd y Pla Mawr ym Mhrydain. Yn 685, dechreuodd Cadwalla ymrafaelio am y deyrnas. Yn 686, gwnaeth Cadwalla (sef, Cadwaladr Fendigaid y Croniclau Brutanaidd) wlad Caint yn anghyfanedd. Yn 688, aeth Cadwalla i Rufain a chafodd ei fedyddio gan y Pap Sergius; bu farw yno, a chladdwyd ef yn ei wisg fedydd yn Eglwys St. Pedr: olynwyd ef gan Ina (Ifor y Croniclau Brutanaidd), yr hwn a deyrnasodd am 33 o flynyddoedd. Efe a adeiladodd fynachlog Ynys Afallon, ac a aeth wed'yn i Rufain a bu farw yno. Yn 743, bu Ethelbald o Mers a Cuthred y Saeson Gorllewinol yn ymladd â'r Cymry. Yn 755, ymladdodd Cynwulf lawer o frwydrau celyd â'r Cymry. Yn 787, y daeth llynges gyntaf y Gogleddwyr (y Daniaid) i Brydain. Yn 833, y bu Egbert yn ymladd â'r Morladron Gogleddol yn Charmouth; gwnaed lladdfa fawr, ac arhosodd y Daniaid yn feistriaid y maes."

Nyni a adâwn Frut y Saeson gydag ychydig nodiadau. Yn gyntaf, os yw yn awduredig a chywir, ymddengys na ymladdodd y Saeson am yspaid càn mlynedd (o.c. 449—552,) ar ol glànio dan Hengist a Horsa, gymaint ag un frwydr—oddieithr y frwydr yn yr hon y cwympodd Nathan Leod (Llew,) yn y canoldir nac yn unlle arall ond ar y man y tiriasant, a than amddiffyniad eu gwersylloedd môrawl; ac yn yr holl frwydrau hyn mai y Brutaniaid oeddynt yr ym-

osodwyr, y Saeson yn ymladd yn unig mewn hunan amddiffyniad. Rhaid fod nodwedd y tiriadau heddychol hyn megys y gosodir hwynt allan yma wedi cael eu camddeall yn resynol gan ein hynafiaid; ond mewn gwirionedd nid oedd y Saeson yn drefedigaethwyr tirion—cenedl oeddynt o ryfelwyr paganaidd, yn greulawn a diofn fel eu gilydd; ac un casgliad ellir ei dŷnu yn unig oddiwrth y fath addefiadau a'r rhai uchod—sef, yn lle cael, megys y rhag-ddysgwylient, ysglyfaeth hawdd, y fath ag a gafodd y Ffrancod yn Ffrainc, y Visgothiaid yn yr Hispaen, yr Ostrogothiaid yn yr Eidal, a'r Vandaliaid yn Affrica,—cawsant eu gwrthwynebu gan genedl, o flaen arfau pa un yr ymostyngasai y cenedloedd hyn eu hunain yn ddiweddar ar y Cyfandir. Yn lle ymherawdwyr fel Honorius, neu y fath gadfridogion budd-chwantus â Stilicho, ymgyfarfyddasant a rhes olynol o wroniaid brodorol—Gwrthefyr, Emrys, Uthyr, Arthur, Urien, Ifor, a Chadwallon—a ffrwynwyd hwynt gan fraich o haiarn o fewn eu hystablau llyngesol ar fin y môr, hyd y bumed genedlaeth, pan yr oeddynt wedi hir beidio a bod yn estroniaid, ac wedi dyfod yn Saeson Brutanaidd, nid Almaenaidd. Yn ail, addefir fod teyrnas y Saeson Gorllewinol wedi cael ei dymchwelyd gan y Brutaniaid ar ol brwydr fawr Wanborough. Yn drydydd, ni chofnodir, oddigerth rhyw wibdaith fechan yspeiliol ar Ynys Wyth, unrhyw hynt filwrol o eiddo y Saeson yn ystod teyrnasiad Arthur—yr hyn a gadarnhâ ddarostyngiad cyflawn yr ymgyrchwyr Teutonaidd a briodolir yn gyffredin ym mhlith ei orchestion eraill gan hanesiaeth a thraddodiad Ewropaidd, i'r brenin hwn. Yn bedwerydd, ymogoneddir yng nghyflafan Bangor-is-coed fel cyflawniad o fygythion Awstin yn erbyn yr eglwys a'r genedl ag oeddynt mewn modd arbenig wedi gwrthwynebu hòniadau y Babaeth. Yn bumed, cydnabyddir gyrfa filwrol Cadwallon a'i waith yn ail-orchfygu Gogledd Prydain. Yn chweched, hawlir Cadwaladr Fendigaid dan yr enw Cadwalla—newyddbeth mewn enwadyr Saesonig—fel brenin Saesonaidd, gan fod ei fam yn chwaer i Penda, brenin Mers. Cyfnewidiwyd Ifor yr un fath yn Ina—gan fod y Saeson Gorllewinol yn analluog i seinio yr *f* Frutanaidd. Yn seithfed, ym mhen tri chant a deugain o flynyddoedd ar ol i Hengist dirio yn yr ynys, a chant a hanner o flynyddoedd wedi i'r Lloegrwys gael eu Seisnigo, tra yr oedd y rhyfel eto yn cael ei ddwyn ym mlaen gyda

chynddaredd gerwinol heb leihâd rhwng y llwyth hynaf, sef y Cymry, a'r Brutaniaid Teutonaidd yn y Gorllewin—mae Cymry, neu Cimbri Llychlyn yn dyfod i mewn i'r gadfa dan yr enw Norsmyn, Dasiaid, Daniaid, ac yn ymladd yn eu hawlfraint eu hunain am y goron ac etifeddiad yr ynys. Gyda'r adroddion hyn o eiddo yr awduron Saesonig eu hunain ger ein bron ymddengys mai ynfydrwydd hanesiol yw siarad am oresgyniad Lloegr gan y Saeson mewn unrhyw oleuni amgen nag fel ffugddyfais Fonachaidd a lunìwyd i ddybenion hunanlesol yr Eglwys Babaidd. Yr ydym yn awr yn ail-ymaflyd yn yr hanes Frutanaidd.

Llwyddodd Gotta mab Gwrtheyrn a Rhonwen i adnewyddu y cyfamod rhwng y Gwyddelod Cochion a'r cyngrheiriaid Saesonaidd. Tiriodd ar lân y Menai, lle y cyfarfyddwyd, gorchfygwyd, ac y lladdwyd ef a'i bleidiwr Guilloman gan Uthyr. Gwenwynwyd Emrys Wledig yr un flwyddyn gan ryw Sais, o'r enw Eopa, yr hwn a gymhellwyd gan Gotta i gyflawni y weithred anfad. Claddwyd ef yn Ambresbury, yn swydd Wilts.

Parhâe yr Eglwys Frutanaidd i ymledu ar bob ochr yn ystod y cyfnod hwn. Cynnaliai gymundeb llawn ag eglwys gynnenid Gâl. St. Garmon a St. Bleiddan, dymchwelwyr geugred Morgan, oeddynt Lydawiaid o deulu breninol Cynan, Cystenyn, ac Arthur. Ganwyd St. Padrig, apostol yr Iwerddon, yn Rhôs, yn swydd Benfro. Ei enw cyntaf oedd Maelwyn. Bedyddiwyd ef yn Patricus neu Patrig, urddwyd ef yn offeiriad yn o.c. 425, gan St. Garmon, ac ar ol hyny yn esgob ar y Gwyddelod gan Amandus, archesgob Bourdeaux. Yn ystod tri ugain mlynedd efe a ddychwelodd yr Iwerddon i gyd i'r ffydd. Bu farw yn ei 121ain mlwydd o'i oedran, a chladdwyd ef gan St. Dewi, yn Ynys Afallon. Calpurnius oedd ei dad, a'i fam oedd Consuessa, chwaer St. Martin, archesgob Tours, ac apostol deheubarth Gâl. Ymbriododd chwaer arall i St. Martin â Gorthol, tywysog Brutaniaid Ystrad Clwyd, i'r hwn yr ymddygodd St. Ninian, apostol Pictiaid y deheubarth. Efe a sylfaenodd eglwys gadeiriol Whithern (*Candida Casa*) yn o.c. 440. Gan i'r ymherawdwr Rhufeinig Anthemius erfyn cynnorthwy gan Uthyr yn erbyn Euric, brenin y Visigothiaid, glàniodd Uthyr yn Havre, uwchben 12,000 o wyr, (o.c. 470). Cymerodd brwydr le, ond gan i'r rhaglaw Rhufeinig fethu dyfod a'i fyddin i gyfuniad â'r eiddo ef, gorfu i Uthyr

roddi fyny y maes ac encilio i Burgundi. Cymerwyd mantais o'i absenoldeb gan Octa ac Ebusa, i godi baner gwrthryfel. Ar ei ddychweliad gorchfygwyd Uthyr ganddynt yng Nghaer Efroc, ond efe wed'yn a'u gorchfygodd hwythau ac a'u cymerodd yn garcharorion wrth gastell Dumbarton. Pan yng ngarchar yn Nhŵr Llundain, drwy ddobrwyo y gwarchlu, hwy a ddiangasant i'r Almaen, ac a gasglasant luoedd o'r newydd allan o'r cyngrhair, a thiriasant yn Yarmouth, a chan ymdeithio i Verulam, dadymchwelwyd a lladdwyd hwy yno gan y Pendragon. Bu farw Uthyr y Pendragon, yn Llundain, yn ei 90ain mlwydd o'i oedran, yn o.c. 500. Olynwyd ef gan ei fab Arthur, ag oedd y pryd hyny yn ei ugeinfed mlwydd.

Perthyn bywyd a gyrfa filwrol y teyrn hwn, yr un mwyaf poblogaidd a llydan ei glod o holl wroniaid yr oesau hên a diweddar, yn hytrach i hanesiaeth marchwriaeth a gwareiddiad yn gyffredinol nag i unrhyw wlad neu genedl arbenig. Fel sylfaenwr marchwriaeth Ewropaidd, a phengampwr y byd Cristionogol yn erbyn minteiodd paganaidd y Gogledd, efe a greodd gyfnod newydd, nodweddiadau newyddion, a chyfrol newydd yn hanesion milwrol dynolryw. Mae ei orchestion ef ac eiddo ei gâdlywyddion, y rhai i raddau a fwyhawyd, yn ffurfio rhan o lenyddiaeth pob iaith braidd yn Ewrop ac Asia. Cylchdröai o'i amgylch ef a'i lŷs, o'r chweched hyd yr unfed-ganrif-a'r-bymtheg, gylchau aneirif o hanes-gerddi, telyn-alawau milwraidd, caneuon, hanesion traddodiadol, a chwedlau rhagorwych, y fath na addurnwyd unrhyw destyn arall erioed yn yr un modd oddigerth yn unig ddinas gyndadaidd ei âch—sef "cwymp Caerdroia ddwyfol." Ysgrifena un awdwr perthynol i'r canol oesau fel hyn,—"Mae Arthur yn adnabyddus yn Asia fel ym Mhrydain; ein pererinion pan yn ddychwelyd o'r Dwyrain a'r Gorllewin a siaradant am dano; nid yw yr Aipht na gororau y Bosphorus yn ddystaw; mae Rhufain, meistres y dinasoedd, yn dadgan ei weithredoedd; mae Antioch, Armenia, a Phalestina yn clodfori ei orchestion. Mae nid yn unig ein gwledydd ein hunain ond yr Hispaeniaid, Eidaliaid, y Gaeliaid, a'r Swediaid tu hwnt i fôr Llychlyn, yn cofnodi yn eu llyfrau hyd y dydd heddyw weithredoedd enwog y brenin tra ardderchog hwn."

Ni oddef ein gofod i ni wneuthur dim ond byr-grynhoi prif ddygwyddiadau ei deyrnasiad, yn o.c. 500—542.—

Ganed Arthur yng nghastell Tintagel, yng Nghernyw. Ei fam ydoedd Eigra, o linach Cunedda o Wynedd. Derbyniodd ei addysg gan Ddewi Sant, yng Nghaerlleon-ar-Wysg; coronwyd ef gan St. Dyfrig, ac o fewn mis o amser wed'yn cymerodd y maes yn erbyn cyngrhair newydd o'r tylwythau Teutonaidd ag oedd wedi ei ffurfio ar dderbyniad y newydd am farwolaeth Uthyr. Y rhyfel yr hwn a ganlynodd ac a orphenwyd ym mrwydr Mont Badon (o.c. 522), a ddygwyd ym mlaen ar yr ochr Gristionogol a'r Baganaidd gydag egni a phenderfyniad anarferol. Ymddengys fod yr Angliaid, Jutiaid, a'r Saeson, sef y prif dylwythau, wedi tynu yma yn llythyrenol y dyn olaf a feddent ar y Cyfandir; canys dywed Beda fod eu hênwledydd hwynt yn ei amser ef (o.c. 700,) ac wedi bod yn hir cyn hyny yn anialdir, heb gymaint ag un trigianydd dynol ynddynt. Sylwasom eisoes mai meddu gwaedoliaeth Odin, gyda'r Saeson a thylwythau Gothiaidd eraill, ydoedd y peth anhepgorol i frenindod. Taflodd y rhan fwyaf o hiliogaeth Odin eu hunain i'r crwysgad paganaidd yma yn erbyn Prydain, gan ddwyn gyda hwynt holl rym anianol a gwylltgrefyddus y cenedloedd rhyfelgar dros ba rai y llywient ryw fath o deyrnwialen ddwyfol. Ystyrid achyddiaeth Odinaidd y penaethiaid hyn gan eu dylynwyr fel sicrwydd am lwyddiant a mynediad dilys i bob Sais a drengai dan eu baner i lawenydd dyfodol Vallhalla. I gyfarfod y frodoriaeth genedlig ofnadwy hon, trefnodd Arthur yr Urdd o Farchwriaeth Gristionogol, a adnabyddir yn gyffredin fel urdd y Ford Gron. Cymdeithion yr urdd yma a ddewisid o bob rhyw Gristionogion heb wahaniaeth âch, hinsawdd, nac iaith—rhwyment eu hunain i wrthwynebu cynydd paganiaeth, i fod yn ffyddlon i orsedd Prydain, i noddi y diamddiffyn, i ddangos trugaredd i'r cwympiedig, i anrhydeddu gwreigdod, ac i beidio byth a throi eu cefnau ar un gelyn ym maes y frwydr. Y penaethiaid Odinaidd o'r enwogrwydd mwyaf oeddynt Colgrin, Baldulph, Cheldric, Cerdic, Osca, Otho, Urcwin, Oslac, Elesa, Egbricht, ac Alred—cwympodd y rhai hyn oll yn y rhyfel. Deuddeg buddugoliaeth hyglod y Pendragon ieuanc oeddynt fel y canlyn. Y 1af, yn Nghaerloyw; yr 2il, yr ymladdfeydd yn Wigan, 10 milldir oddiwrth y Mersey. Parhaodd y frwydr ar hyd y nos. Yn o.c. 1780, pan yn tori drwy y garnedd, cafwyd tri llwyth trol o bedolau, pa rai a gymerwyd ymaith. Y

3edd, yn Blackrode. Y 4edd yn Penrith, rhwng y Loder a'r Eimot, ar y fan a elwir fyth yn gastell y brenin Arthur. Y 5ed, ar y Douglas, yn nyffryn Douglas. Y 6ed, yng Ngaerlwytcoed (Lincoln). Y 7ed, yn ymyl Coedwig Celyddon (Coedwig Ettrick), ym Melrose. Yr 8ed, yng Nghaer Gwynion. Y 9ed, rhwng Caer Eiddin a Leith. Y 10ed, yn Dumbarton. Yr 11eg, yn Brexham, yn Torbay. Y 12ed, yn Mont Badon, goruwch Caer Baddon.

Yr oedd y gorchfygiad olaf hwn mor lethol nes y dinystriodd y cyngrhair Saesonig ei hun, ac ni anturiodd un estron osod troed gelynol ar yr Ynys nes y tiriodd Ida yn o.c. 550, yn Northumbria, ym mhen wyth mlynedd ar ol marwolaeth Arthur. O'r flwyddyn 520, hyd y dyddiad olaf hwn, y cyfryw o'r Saeson ag oeddynt heb eu hymlid allan o'r wlad neu eu llwyrddifa a arosasant mewn ffyddlondeb heddychlawn i orsedd Prydain, llawer o honynt yn gwasanaethu yn ei goresgyniadau tramor, ac yn helpu i'w dwyn ymlaen.

Yr unig ran o Ffrainc heb ei darostwng gan Clovis a'i Ffrancod ydoedd Llydaw, a lywodraethid y pryd hyn gan Hywel, cefnder a deiliad Arthur. Gan adnewyddu hawliau ei ragflaenoriaid i'r tiriogaethau Gâlaidd, megis y gwnai yr Harriaid a'r Iorwerthiaid mewn oesau diweddarach, cyflawnodd Arthur mewn pum mlynedd (o.c. 521—6,) y gwaith o oresgyn Gâl—cwympodd Chlodomir, olynydd Clovis yn y frwydr fawr ar wastadedd Langres. Coronwyd Arthur ym Mharis yr un flwyddyn ag y daeth Justinian i'r ymherodraeth Ddwyreiniol. Goresgyniadau mam-wledydd y cenedloedd paganaidd eu hunain a ddylynasant yn ystod y blynyddau o.c. 527—35, canys yr Hên Saxony, Denmarc, Frisia, Gogleddbarth yr Almaen, a holl Lychlyn cyn belled a Lapland, a ddarostyngwyd y naill ar ol y llall. Cyhuddir Arthur gan Johannes Magnus, archesgob Upsal, hanesydd perthynol i'r hên Denmarc, o fod wedi llywodraethu y gwledydd Gogleddol hyn (lib. viii. pen. 31,) gyda llymder dirfawr. Mwynhäodd yr ymherodraeth Arthuraidd ag oedd yn cyrhaedd o Rwsia hyd y mynyddoedd Pyrenaidd, lonyddwch didor o'r flwyddyn 535 hyd 541. Dwy flynedd cyn hyny yr oedd Milan wedi cael ei chymeryd gan y Gothiaid, a rhoddwyd tri chant o filoedd o ddineswyr—pob gwryw mewn oed, i'r cleddyf gan y cymerwyr creulawn. Mewn trefn o ryddhâu yr Eidal, a'i hychwanegu at ymherodraeth Gristionogol Prydain, arweiniodd Arthur ei luoedd drachefn

i'r Cyfandir, gan adael ei diriogaethau ynysol dan raglawiaeth Medrawd, mab hynaf ei chwaer Anna neu Morgana, a Llew Cynfarch, brenin yr Alban. Mae enw Medrawd yn sefyll mewn hynodrwydd cas fel "trydydd carnfradwr Ynys Prydain." Yr oedd Arthur wedi myned cyn belled a'r Alpau pan dderbyniodd hysbysrwydd fod Medrawd wedi troi yn wrthryfelgar, a thrwy gynorthwy gwyr o blith y paganiaid, wedi cymeryd mepdiant o'r orsedd. Gan ddychwelyd yn ol ar hyd yr un llwybr, gorchfygodd Arthur y bradwr mewn dwy ymladdfa, yn Dover a Chaer Wynt. Y drydedd frwydr a'r olaf a adnabyddir fel "tridiau duon Camlan," a ymladdwyd yn Camelford, o fewn ychydig filldiroedd i gastell Tintagel. Parhaodd am dri diwrnod, ac ni chwympodd dim llai na 100,000 o wroniaid Prydain ar y maes angeuol. Arthur ei hun wedi ei archolli yn dost a gludwyd gan Taliesin, Morgana, ac eraill perthynol i'w lŷs, i Ynys Afallon. Creodd ei eiriau ymadawol wrth ei farchogion—"yr wyf yn myned ymaith yn amser Duw, ac yn amser Duw y dychwelaf eto," grediniaeth anorchfygol fod Duw wedi ei symud ef fel Enoch ac Elijah, i baradwys heb fyned drwy borth marwolaeth; ac y byddai iddo mewn amser pennodol ddychwelyd yn ol, ailesgyn gorsedd Prydain, a darostwng yr holl fyd i Grist. Yr oedd effeithiau y grediniaeth hon mor rhyfedd a'r grediniaeth ei hun, yn cynal ei gydwladwyr i fyny dan bob rhyw ddymchweliadau, ac yn y diwedd yn eu galluogi i gywiro yspryd y grediniaeth drwy osod eu llinach eu hunain, sef y Tudoriaid, ar yr orsedd. Yr oedd y grêd hon mor ddiweddar a'r flwyddyn o.c. 1492, yn dreiddiedig drwy holl Loegr a Chymru. Dywed Wynkyn de Worde, yn ei gronicl, "O barth marwolaeth Arthur y mae gan ddynion amheuaeth eto, a bydd ganddynt fyth, canys megys y dywed pobl, ni ŵyr neb pa un ai byw ai marw ydyw." Y mae diflaniad Arthur yn ddygwyddiad arbenig yn hanesiaeth Prydain. Yr ymhoniad fod ei gorph ef a'i frenines Gwenhwyfar wedi eu darganfod yn Ynys Afallon, a wawdid yn gyfiawn gan y Cymry fel ffugddyfais Normanaidd. Mae Arthur wedi gadael ei enw i dros chwe'chant o leoedd ym Mhrydain. Yr oedd ei lŷs yng Nghaerlleon-ar-Wysg yn gyrchfan holl athrylith a dysgeidiath yr oes; ym mhlith sêr addurnol nodedig ei lys gellir crybwyll St. Dewi, St. Cadog, Merlin, Emrys, Llywarch, Taliesin, Aneurin, Golyddan,

St. Cyndeyrn, St. Illtyd, &c. Mae cyfansoddiadau cysefin Aneurin—sef ei "Hanesiaeth Frutanaidd," a Hanes bywyd Arthur," wedi eu colli; nid yw gwaith Gildas, yr hwn unwaith a gymerid am y blaenaf, ond ffugysgrif o eiddo Aldhelm, Mynach Pabyddol Malmesbury. Mae rhyw gymaint o gyfansoddiadau barddonol Llywarch, Merlin, Taliesin, Aneurin, a Golyddan, wedi dyfod i lawr i'n hamser ni.

Olynwyd Arthur, o.c. 543, gan Cystenyn, Duc Cernyw —Cystenyn gan Aurelius Conan (547,) Conan gan Maelgwyn Gwynedd, Tywysog Gwynedd (550,) yr hwn oedd yn glodfawr am ei nerth a harddwch ei ddynsawd. Glàniodd Ida yr Angliad (547,) gyda thriugain o longau yn Bamborough—ac ysgrifena Harri o Huntington, fod llawer o frwydrau mawrion wedi cael eu hymladd rhyngddo ef a'r Brutaniaid. Ymladdwyd brwydr Gododin, yn yr hon y gorchfygwyd y Brutaniaid gyda cholled am dri-chant-a-thriugain o eurdorchogion, ac y cymerwyd Aneurin yn garcharor, yn y flwyddyn o.c. 556, yn Nghattraeth. Rhoddwyd i fyny ryfela dros amser mewn canlyniad i briodas Ida gyda Bina, merch Culvinod, Duc Deifr (Deira Durham), ond ailddechreuasant yn fuan drachefn, a chwympodd Ida drwy law Owain ap Urien, Tywysog Cymru. Sylwa Sharon Turner, nad yw llwydd cynyddol yr Angliaid yn y Gogledd, ond araf a thra anadnabyddus. Yn y ganrif ddylynol gwnaed Northumbria—dwyreinbarth Lloegr, rhwng afon y Forth a'r Hymyr, yn anialwch gan Cadwallon, mewn ffordd o ddial am gyflafan Bangor-is-y-Coed, gan ei brenin Edelffrith. Dywed Gwilym o Malmesbury, fod y dalaeth hono yn ei amser ef yn orchuddiedig gan adfeilion dinasoedd a themlau y cyfnod Rhufeinig. Pan gymerodd Egbert feddiant o honi yn o.c. 840, nid oedd ond oddeutu 4,000 o deuluoedd yn gwneyd i fyny yr holl boblogaeth. Gorchfygwyd a phoblogwyd hi ar ol hyny gan y Daniaid, a gelwid hi gwlad y Daniaid—dyna'r achos o'r gwahaniaeth nodedig rhwng poblogaethau gogleddbarth a deheubarth Lloegr.

Olynwyd Maelgwyn gan ei fab Rhun, (o.c. 560,)—Rhun gan Beli, (586,)—Beli gan Iago, (592—ac Iago gan Cadfan, (603). Yn ystod yr holl deyrnasiadau hyn parhäodd y rhyfeloedd fwy neu lai rhwng y Cymry a'r amrywiol giwdodau a diriasant neu a geisiasant dirio yma o'r Cyfandir neu ogleddbarth Ewrop. Yn o.c. 565, efengyleiddiwyd y Pict-

iaid a'r Ysgotiaid Gorllewinol, gan Columba, neu Columkil, (colomen yr eglwys, neu fel ei gelwir mewn hen ysgrif, "Colomen Celi,") henuriad perthynol i'r eglwys Wyddelig Frutanaidd, yr hwn hefyd a sefydlodd fynachlog glodfawr Iona neu I-colm-kil. Yn y ganrif ddylynol dychwelwyd Angliaid Northumbria i'r ffydd gan ei ddysgybl, St. Aidan. Goddefodd Aidan brenin Prydain orchfygiad hynod, yn o.c. 603, gan Edelffrith, ŵyr Ida, er fod Adelred, brawd Edelffrith, a'i holl flaenfyddin wedi cwympo yn y rhan gynnaraf o'r diwrnod.

Arferai yr Angliaid Saesonaidd, mor ddiweddar a'r flwyddyn o.c. 1080, werthu eu plant eu hunain fel caethweision i genedloedd y deheubarth. Y brif gaethfarchnadle oedd Caerodor. Tynodd rhai o'r plant a werthid fel hyn yng nghaeth-farchnadle Rhufain sylw y Pab Gregori, a thueddwyd ef i anfon cennadiaeth yn gynnwysedig o Awstin a deugain o fynachod, i ddychwelyd y Saeson Brutanaidd at Gristionogaeth. Cawsant dderbyniad da gan Bertha, gwraig Gristionogol Ethelbert, is-frenin paganaidd Caint, a throsglwyddwyd iddynt at eu gwasanaeth hên eglwys Frutanaidd St. Martin, Caergaint; ond dangosodd Awstin yn fuan mai dyben gwirioneddol y gennadiaeth ydoedd cymhell yr eglwys Frutanaidd ei hun i gydnabod Rhufain fel y Babaeth neu "fam a meistres pob rhyw eglwys," yn hytrach nac efengyleiddio caethweision anniwylliedig y penaeth cenhedlig. Dymunodd gael ymgyfarfod ag Eglwys Frutanaidd. Yna archesgob Caerlleon-ar-Wysg, neu Dŷ Ddewi, a etholodd Dunawd, penfynach Bangor-is-y-Coed, ac Esgobion Henffordd, Caer Gwrangon, Bangor, Llanelwy, Llandaff, Llanbadarn, a Margam, fel dirprwywyr i'w gyfarfod ef. Cynnaliwyd dwy gynnadledd dan nawdd Brochwel, tywysog Powys, ar gyffiniau swydd Henffordd neu Ferrex, wrth Dderwen Awstin, (Awstcliffe, ar làn yr Hafren). Parhaodd yr ail am saith niwrnod: a dywed Leland, fod Dunawd a'r Esgobion Brutanaidd yn dadleu gyda dysgeidiaeth a difrifwch mawr yn erbyn yr awdurdod a fyntumid gan Awstin—amddiffynent awdurdodaeth Archesgobaeth Tŷ Ddewi, gan sicrhâu na fyddai i'r Hen Frutaniaid fyth gydnabod nac hawlhòniadau Rhufain nac unrhyw drawsdeyrnedd Saesonig. Terfynodd y cynnadleddau drwy i Esgobion Prydain gyflwyno ar ran y bobl a'r eglwys Frutanaidd y gwrthodiad canlynol o'r hawlhòniadau Pab-

yddol—y gwrthdystiad hynaf a mwyaf urddasol a chenedlaethol ar gôf:

"Bydded hysbys a diogel i chwi ein bod ni oll, un ac arall, yn ufudd ac yn ostyngedig i Eglwys Dduw, ac i'r Pab o Rufain, ac i bob gwir Gristion duwiol, i garu pawb yn ei radd mewn cariad perffaith, ac i helpio pawb o honynt, ar air a gweithred, i fod yn blant i Dduw. Ac amgenach ufudd-dod na hwn nid adwaen i fod i'r neb yr ydych chwi yn henwi yn Bab, neu yn Dad o Dad, i'w gleimio ac i'w ofyn, a'r ufudd-dod hwn ydym ni yn barod i'w roddi ac i'w dalu iddo ef, ac i bob Cristion yn dragwyddol. Hefyd, yr ydym ni dan lywodraeth Esgob Caerlleon-ar-Wysg: yr hwn sydd yn olygwr dan Dduw arnom ni, i wneuthur i ni gadw'r ffordd ysprydol."

"Ni chydnabyddai yr Eglwys Frutanaidd," fel y sylwa Syr Harri Spellman, "neb goruwch archesgob Caerlleon-ar-Wysg, neu Dŷ Ddewi, ond Duw yn unig; nid oedd yn gwybod dim am awdurdodaeth unrhyw allu neu benadur tramor." Ar derfyniad y gynnadledd bygythioddd Awstin y Cymry, os na dderbynient heddwch gan eu brodyr, y byddai iddynt gael rhyfel gan eu gelynion—os na byddai iddynt bregethu bywyd i'r Saeson, y byddai iddynt dderbyn marwolaeth ar eu dwylaw. Nid yw haerllugrwydd y bygythiad hwn gan fynach perthynol i gennadiaeth fechan ac un capel, ym mhlith paganiaid barbaraidd Caint, i eglwys ag oedd yn rhifo ym Mhrydain ac ar y Cyfandir bedair o archesgobaethau a deg-a'r-hugain o esgobion ym mhlith ei swyddogion, a'r fath brif-ysgolion a'r eiddo Bangor-is-y-Coed a Llanilltyd ym mhlith ei sefydliadau, yn gyfartal i ddim ond yn unig yr anwireddau a gynnwysa—sef na bu yr Eglwys Frutanaidd erioed yn pregethu yr efengyl i'r gormeswyr paganaidd. Yn y gwrthwyneb i hyn, yr oedd holl Alban, Iwerddon, a Gogledd Prydain, wedi bod neu ar y pryd hwnw yn cael eu hefengyleiddio gan gennadon perthynol i'r Eglwys Frutanaidd, a llawer o honynt o enedigaeth a chyrhaeddiadau uchel—megys Patrig, Ninian, Pawl Hên (Paulinus,) Columba, Aidan, Cyndeyrn, ac eraill. Ond Ynys Wyth a pharthau eraill o fewn pellder cyfleus i gennadiaeth Caergaint yn groes i hyn ni chawsant eu dychwelyd i'r ffydd ond ym mhen hanner can mlynedd ar ol y gynnadledd. Pa fodd bynag cafodd Awstin allan foddion i gyflawni ei fygythiad. Drwy ei gynghorion ef cymhellwyd Edelffrid, brenin paganaidd Northumbria, gan Ethelbert, i ruthro ar diriogaethau Brochwel, tywysog Powys, yr hwn oedd wedi cefnogi Dunawd a'r Esgobion yn eu gwadiad o hawliau y Pab. Yr oedd Powys y pryd hyn yn cyn-

nwys swyddi Caerlleon ac Amwythig—ei phrif ddinasoedd oeddynt Pengwern Bowys (Amwythig) a Chaerlleon. Ymruthrodd Edelffrid gyda byddin o hanner cant o filoedd o wyr i'r Dyffryn breninol, a gwrthwynebwyd ef gan Brochwel, yng Nghaerlleon. Ar uchelfan yn agos i faes y frwydr yr oedd 1,200 o offeiriaid perthynol i brifathrofa Bangor, yn eu gwenwisgoedd offeiriadol, yn hollol anarfog, wedi ymgynnull i dderchafu eu gweddïau i'r nêf am lwyddiant ar arfau y Cristionogion. Pan oedd y frwydr yngbanol ei chynddaredd, gofynodd Edelffrid, wrth eu gweled, pwy ydoedd y milwyr ag oeddynt yn eu gwisgoedd gwynion, a phaham yn lle ymuno yn yr ymladdfa yr oeddynt yn aros ar eu gliniau? Pan hysbyswyd iddo mai offeiriaid Bangor oeddynt, yn gweddïo ar Dduw y Cristionogion: crochlefodd y pagan creulawn, "os ydynt yn gweddïo yn ein herbyn ar eu Duw, y maent yn ymladd gan gymaint yn ein herbyn a phe buasent yn ymosod arnom gydag arfau yn eu dwylaw." A chan arwain ei luoedd yn bersonol yn eu herbyn, lladdodd hwynt oll, bob gwr yn ddiarbed. Yna efe a aeth ar ymdaith at y brifathrofa ei hun, a chynifer o offeiriaid ac efrydwyr na ffoisant wrth ei ddynesiad, efe a'u lladdodd â'r cleddyf, gan drosglwyddo ei neuaddau lluosog, ei cholegau, a'i heglwysi, i'r fflamau. Fel hyn y cyflawnwyd, fel y dywed Beda dduwiolfryd, ragfynegiad Awstin fendigaid—pan mewn gwirionedd mai y proffwyd oedd y cyflafanwr. Pan yn ceisio gweithio ei ffordd drwy orthrech dros afon Dyfrdwy, cilgwthiwyd Edelffrid gan Brochwel, ac ym mhen ychydig ddyddiau ar ol hyny gỳrwyd ef ar ffô gyda cholled am ddeng mil o'i wyr, gan Cadfan; ond diangodd ef ei hun yn archolledig a chydag anhawsder mawr i Litchfield. Dylynodd Cadfan ei fuddugoliaeth ym mlaen drwy ymruthro dros y wlad hyd at fôr-gamlas yr Hymyr, gan warchae ar Edelffrid yng Nghaer Efroc. Gwnaed heddwch drwy i Edelffrid gydnabod arglwyddiaeth y Pendragon dros yr holl Ynys, a rhoddi i fyny ym mhlith eraill ei berthynas ieuanc, Edwin brenin Deifr, fel gwystl i'r gorchfygwr. Wrth ddychwelyd yn ol safodd y fyddin Frutanaidd ar fan difrodiad Bangor; yr oedd lludw y fynachlog ardderchog fyth ym mygu—yr oedd ei llyfrgelloedd, y rhai oeddynt gasgliad oesau, wedi eu llosgi—muriau a phyrth hanner adfeiliol, a malurion mûdlosgol oeddynt y cyfan a arosai o'i hadeiladau mawreddig, ac yr oedd y rhai hyn ym

nhobman wedi eu côchruddo â gwaed, a chyrff offeiriaid, efrydwyr, a chôrgeiniaid yn wasaredig yn eu plith. Gadawai yr olygfa ddymuniad na ellid ei linaru am ddial ychwanegol ar feddyliau y milwyr Cymröaidd.

Colfwulf, brenin Saesonig y Gorllewin, gan dreiddio i Esyllwg (o.c. 610,) a orchfygwyd gan Teudric y meudwy-frenin, yr hwn oedd, ar y pryd yn ei gan-mlwydd oed, ar lânau yr afon Gwy. Bu farw Teudric ar y munyd y cafwyd y fuddugoliaeth, yn cael ei gynnal ar gefn ei farch gan ei swyddogion, a'i sylliad pan yn marw yn rhythu ar y Saeson yn ffoi. Claddwyd ef yn yr hên freninlys ym Matherne.

Ar farwolaeth Ethelbald a Sebert(o.c. 616,) adgwympodd Caint ac Essex yn ol i baganiaeth.

Yn y cyfamser addysgid Edwin, brenin Deifr, gan Cadfan gyda'i fab ei hun, sef Cadwallon, yng Nghaerynarfon. Yn 617, drwy gynnorthwy Redwald o Essex, gorchfygodd a lladdodd Edwin ei ewythr Edelfred, ar lân ddwyreiniol yr Idel, yn swydd Nottingham. Yn 626, gwnaed ymgais i'w ddirgel-lofruddio â dagr wenwynig gan Eomer, cêlgennad o eiddo Cuichelm o Wessex. Achubwyd ei fywyd drwy i'w weinidog swyddol, Eilla, neidio o'i flaen ef gan dderbyn y ddagr yn ei fynwes ei hun.

Olynwyd Cadfan gan Cadwallon, o.c. 628. Pan glywodd Edwin am ei esgyniad i'r orsedd, a chan ymddiried yn eu cyfeillgarwch boreuol, anfonodd gennadwriaeth i Gaerlleon-ar-Dwy, gan erfyn caniatad i wisgo coron freninol yn lle y goronig arferol a wisgid gan yr is-freninoedd. Gomeddodd Caswallon hyny yn bendant, gan ddywedyd na chaniatäodd defodau Prydain erioed ond un "*Diadema Britanniæ*," neu goron Prydain, i gael ei gwisgo yn yr Ynys. Wedi ei gythruddo drwy y naccâd hwn, taflodd Edwin ymaith ei ymrwymiad o ffyddlondeb i'r goron; a phan wnaeth Cadwallon ymgyrch yn erbyn Northumbria, gorchfygwyd ef gan Edwin mewn brwydr fawr yn Widdrington, wyth milldir yn ogleddol i Morpeth. Ar ol bod am bum mlynedd yn alltud yn Iwerddon a Llydaw, glâniodd Cadwallon yn Torquay. Yr oedd Penda Strenus, brenin Mers, a phleidiwr Edwin, y pryd hyny yn gwarchae ar Exeter. Codwyd y gwarchae, a dymchwelwyd a chymerwyd Penda yn garcharor gan Cadwallon. Pan ryddhawyd ef drwy gyfryngdod ei chwaer wrth draed Cadwallon, efe a dyngodd lŵ o ffyddlondeb i'r Pendragon—llŵ a gadwodd gyda chywirdeb

crefyddol drwy ystod ei fywyd. Cadwallon wedi ei daraw gan swynion ei chwaer, Elditha, a'i priododd hi. Epil y briodas hon oedd Cadwaladr Fendigaid, pendragon ac unben olaf Prydain o'r linach Frutanaidd; yr hwn yn hawl ei dad oedd etifedd Cymru, ac yn hawl ei fam yn etifedd Mers a Wessex. Yr oedd gyrfa bywyd Cadwallon o'r amseriad hwn mor greulawn fel y parhaodd ei enw genedlaethau ar ol hyny yn air o ddychryn ym mhlith yr Angliaid Saesonaidd. Rhwymodd ei hun drwy adduned mor waedlyd a'r eiddo Hannibal tuag at y Rhufeiniaid, na byddai iddo adael un Angliad yn fyw rhwng yr afon Hymyr a'r Forth, a bu iddo agos gadw yr adduned hono. Cofnodir un-ar-bymtheg o'i fuddugoliaethau yn amryw barthau y deyrnas gan awduron cyfoesol. Cwympodd Edwin a phrif bendefigion yr Angliaid Saesonaidd o'i flaen ym mrwydr Hatfield Chase (Meigen), yn swydd Caer Efroc, (o.c. 630)—yr hyn a fu yn hir yn destyn cân a galareb drymaidd i'r Scaldiaid Saesonaidd. Cafodd Osric, Eanffrid, ac oddigerth Oswald, yr holl deulu Odinaidd neu eiddo Ida yn Northumbria, eu llwyr ddystrywio ganddo ef, a gwnaed y wlad drwy gleddyf a thân yn lludw ac yn anialdir. Dywed Beda fod blwyddyn y trallodion hyn (o.c. 634,) wedi cael ei dileu allan o'r amseroni Saesonaidd megys y dilëid cylchwyl Allia o'r un Rhufeinig. Y mae yn beth rhyfedd fod yr unig ddwy engraifft a gofnodir o ddiamseroni prydiau o drychineb gwladwriaethol wedi cael eu hachosoli drwy fuddugoliaethau yr un âch Gymröaidd ar y ddwy genedl fwyaf rhyfelgar a fu mewn amseroedd hen a diweddar—sef y Rhufeinig a'r Saeson. Oswald gan gasglu ynghyd weddillion ei deyrnas a'u harweiniodd hwynt (635,) yn erbyn y Brutwn dideimlad a'i gadfridog Penda, yn Heavenfield (Dennisbourne), yn agos i Deifr. Gan ddyrchafu y groes ar glawdd o bridd, ymblygodd ef a'i fyddin ar eu gliniau o'i hamgylch ac offrymasant weddi syml ond gwresog, "ar i Dduw y rhyfeloedd eu gwared oddiwrth y gorthrymwr balch ag oedd wedi tyngu dystrywiad eu hiliogaeth." Ni bu yr apeliad yn ofer. Gorchfygwyd Cadwallon a Phenda gyda cholled drom. Beth bynag ni pharhäodd y llwyddiant yn hir, canys gorchfygwyd, a lladdwyd Oswald, a chroeshoeliwyd ei gorff marwol gan Cadwallon yn Maserfield, a elwir er y pryd hyny Croesoswallt, (Oswald's-tree, Oswestry). Claddwyd ei gorff yn Enlli, ond dodwyd ei

arfau mewn creirfäau arian yn Deifra Lindisfarne, a phriodolid gwyrthiau iddynt. Drwy y fuddugoliaeth hon gosodwyd yr holl wlad Saesonaidd wrth droed y gorchfygwr. Ni aflonyddwyd y gweddill o'i deyrnasiad gan na chydymgeisiwr na gwrthryfelwr, dyogelwch pa un a gadarnhawyd yn fwy drachefn drwy ryfel bŷr ond gwaedlyd a dorodd allan rhwng y ddau brif is-frenin Saesonaidd, Penda ac Oswy, ym mha un y cwympodd Penda ynghyda'i brif swyddogion, y rhai oeddynt ddeg ar-hugain mewn nifer, drwy eu diystyrwch gwirionllyd o'u gwrthwynebwyr. Blynyddoedd olaf teyrnasiad Cadwallon a dreuliwyd yn Llundain. Bu farw yn ei 74ain mlwydd, Tachwedd 15ed, 664. Eneiniwyd a chladdwyd ei gorff ef mewn maenfedd o flaen gwyneb eglwys St. Martin, ar yr hwn y dyrchefid tŵr o luniau wedi eu bwrw o brês, o hono ef ei hun, ei arf-gludydd, a'i farch. Buont yno nes eu dystrywio gan y Daniaid yn y flwyddyn 1018.

Cadwaladr Fendigaid, teyrn Cymröaidd olaf Prydain hyd Harri Tudor, a ddaeth i'r orsedd ar ei ol ef yn o.c. 664. Efe yw Cadwalla y crybwyllir am dano yng ngwaith Beda a Brut y Saeson. Yn gymaint ag i wlad Caint droi yn wrthryfelgar a lladd ei frawd Moel, (*Mull* y cronicl Saesonaidd), efe a'i cospodd hi gyda llymder mawr. Gan weled fod yn anmhosibl uno dan yr un deyrnwïalen ddeiliaid ei dad—sef y Genuissæ, neu Saeson y Gorllewin a'r Mersiaid, ymddengys ei fod er yn foreuol wedi bwriadu ymneillduo oddiwrth ofalon breninoliaeth at fywyd crefyddol. Prysurwyd y penderfyniad hwn gan un o'r ymweliadau hyny o eiddo yr Hollalluog ag sydd yn hytrach nac unrhyw chwyldroad neu ddyfais ddynol wedi cyfnewid tynghedfenau cenedloedd mor aml; torodd y Plâ Dû allan yn o.c. 670, yr hwn a elwid gan yr ysgrifenwyr Brutanaidd yn *Ddial Duw*; a bu yn anrheithio yn ofnadwy am ddeuddeg mlynedd. Dylynid lledaeniad y plâ fel arferol gan newyn; yr oedd y marwoldeb yn gyfryw fel ag yr oedd swyddi cyfain wedi eu gadael heb un trigianydd; y cyfryw o'r boblogaeth a arbedid gan yr haint a gwympent yn aberthau i newyn neu anobaith. Dywed Harri o Huntington, fod tyrfäoedd o ddynion a merched, yn hanner cant ac yn driugain mewn rhifedi, yn ymgropian i ben y clogwyni, a chan afael yn nwylaw eu gilydd yno, yn taflu eu hunain yn un corph dros y dibyn i'r môr. Trengai yr adar hefyd yn lluoedd anifi.

Yr oedd pob gwahaniaeth rhwng Brutwn a Sais wedi ei golli yn y cyflwr dychrynllyd hwn ar bethau. Ymwrthododd Cadwaladr â'r orsedd, a chan ymneillduo i Rufain bu farw yno, a chladdwyd ef yn eglwys St. Pedr, y 18ed o Fai, 689.

O'r dyddiad hwn hyd o.c. 720, dylyna yspaid o derfysg a thywyllwch anhydraidd. Yn y Gogledd yr oedd Brutaniaid Ystrad Clwyd (684,) wedi llwyr ddinystrio byddin Egffrid, brenin Northumbria, yn Drumnechtar, yn swydd Forfar—lle yr oedd Egffrid ei hun, ei gadfridog Beort, a hanner cant o filoedd o Angliaid yn gelaneddau ar y maes. Dywed Beda, pan yn ysgrifenu yn 729, nad oedd un ymosodiad wedi cael ei wneuthur er y pryd hyny yn erbyn "rhyddfreiniau y Brutaniaid—fod y Pictiaid wedi adennill eu holl diriogaethau, awdurdod llywodraethol yr Angliaid wedi olgilio yn barhaus." O'r diwedd, y tair teyrnas, sef eiddo Brutaniaid Ystrad Clwyd, y Pictiaid Brutanaidd, ac Ysgotiaid yr Iwerddon, a ymunasant â'u gilydd ac a ddaethant yn deyrnas Alban. Parhaodd yr ucheldiroedd megys cynt i gael eu meddianu gan giwdodau Brutanaidd cysefin Albyn, ac ni chawsant eu cydgorffori o dan yr un llywodraeth a'r rhan arall o'r ynys hyd y flwyddyn 1745.

Ar ymataliad y plâ, Idwal Iwrch, mab Cadwaladr, ynghydag Ifor, ail fab Alan II o Bretagne, ac Ynyr ei nai, a diriasant yn y Deheubarth er adennill ei diriogaethau treftadol. Coronwyd Idwal yn Dywysog Cymru, yng Nghaernarfon —rhoddwyd derbyniad i Ifor yng Nghernyw ac mewn yspaid chwe blynedd efe a sefydlodd ei hun yn gadarn ar orsedd Saesonaidd y Gorllewin—rhoddodd Idwal yr hawl a feddai o du ei nain, chwaer Penda, i fyny yn ei ffafr ef. Cryfhawyd gallu llywodraethol Ifor drwy ei briodas ag Ethelburga, cyfnither Centwyn. Ar farwolaeth Centwyn, efe a gysylltodd Caint a Mers ynglŷn â'i diriogaethau ei hun. Pan wrthryfelodd y Saeson dan Cynwulf, yr Ethel-iad, cawsant eu darostwng drachefn yn o.c. 721. Lladdwyd Ealdbert Etheling o Ddeheubarth Saxoni ganddo ef, a chysylltwyd Deheubarth Saxoni wrth ei lywodraeth ei hun yn 725. O hyn allan gellir ystyried fod cymysgedd y llinachau a'r poblogaethau Saesonaidd a Brutanaidd yn Neheubarth Lloegr fel yn gyflawn. Pa fodd bynag parhaodd Dyfnant a Chernyw agos yn berffaith Frutanaidd am ryw nifer o ganrifau yn hwy. Yn awr, (o.c. 730,) mae llen hanesiaeth yn disgyn gyda nôs yr oesau tywyll ar Brydain.

## Y CYFNOD SAXONAIDD—YR OESAU TYWYLL.

O'r flwyddyn o.c. 730 hyd 1066, nid oes ond ychydig i'w oesrestru heblaw unrhywiaeth blinderus o frwydrau diles ac arddangosiadau o farbareidd-dra. O barth y wlad a elwid wed'yn yn Lloegr, cyfansoddid y boblogaeth gan Frutaniaid, Saeson, Angliaid, Jutiaid, Vandaliaid, a chiwdodau eraill ddiddarluniedig—yr oedd pob nodebau gwahanredol o âch, iaith, a chenedligrwydd yn awr yn golledig mewn cymysgryw cyffredin. Ar dueddau gorllewinol yr Hafren, cadwai y giwdawd henaf sef y Cymry eu tiriogaethau treftadol yn ddigyffwrdd, gan achlesu gelyniaeth anniddymadwy yn erbyn pob Sais a'r tylwythau Saesonedig oeddynt ar yr ochr ddwyreiniol, a gwylio pob cyfleusdra a roddai iddynt unrhyw obaith o adennill y deyrnwialen ag oedd y pryd hyn drwy oresgyniad neu wallygiaeth eu cyddylwythau wedi myned o'u dwylaw. Gorfodwyd hwy gan yr ymneillduad hwn i ailgyflunio eu ffurf-lywodraeth ar raddfa fechan yn debyg i'w hên ymherodraeth. Yn lle Lloegr, Cymru, ac Albyn, rhanasant eu treftadaeth dan yr enwau Gwynedd, Powys, a Deheu,—y rhan olaf hon yn cynnwys Gwent, Morganwg, a Dyfed. Yr oedd Tywysogion Powys, Gwent, Dyfed, a Morganwg, yn ddarostyngedig i Dywysog Gwynedd, fel arglwydd holl Gymru a chynddrychiolydd y linach ymherodrol berthynol unwaith i Brydain. Trosglwyddid teyrnaddurnau Cystennyn Fawr, Arthur, a Chadwallon, gyda gofal cysegredig i'w geidwadaeth ef, hyd nes y defnyddid hwy drachefn i addurno dynsawd rhyw deyrn o âch Droianaidd Brut. Gorchymynid yn ol yr hen ddefodau ar fod i Gymru dalu'r brenin yn Llundain, pwy bynag fyddai, swm pennodol o aur a elwid y "Deyrnged"—treth y brenin, tuag at draul amddiffyniad milwrol yr Ynys; ac ni ymddengys fod Tywysogion Cymru erioed dan unrhyw amgylchiadau wedi dangos un tueddiad i beidio a'i thalu. Ond ym mhob ystyr arall, gwrthsafent bob ymdrech i osod cyfreithiau tramor ar eu deiliaid, a phob gormes ar eu tiriogaethau heirdd a bychain gyda'r un yspryd éofn a dilwfr ag a hynododd eu hynafiad dan y cyfnodau Rhufeinig ac Arthuraidd.

Ni byddai o unrhyw addysg na dyddordeb i'r darllenydd

pe safem ar fanylion prudd y "nôs-ganrifau" hyn—y brwydrau diles ac anherfynol a barhaodd rhwng y Cymry a'r Brutaniaid Angliaidd neu Saesonig; nodir y rhai canlynol yn unig am y gallant wasanaethu fel nôd-derfynau oesrestrol yn yr anial unrhywiol o dywyllwch, coelgrefydd, creulondeb, a galanasdra yr ydym yn awr yn ei drawsdeithio.

Olynwyd Idwal Iwrch gan Rhodri Moelwynog, yn o.c. 720. Gorchfygodd hwnw Ethelard, olynydd Ifor yn nheyrnas Saesonaidd y Gorllewin, ym mrwydr Heilyn yng Nghernyw, o.c. 728; drachefn yn Garth Maelog yng Ngwynedd, yn o.c. 729; a thrydedd waith yn Nghâd Pencoed, Morganwg, yn o.c. 730.

Gorchfygodd Siarl Martel yr Arabiaid, ym mrwydr Tours, yn Ffrainc, yn o.c. 732, ac a waredodd y Cyfandir rhag cael ei Fahometaneiddio.

Bu dwy frwydr (o.c. 733,) ar fryniau Carno, yn swydd Forganwg, rhwng Ethelbald a Rhodri, yn yr olaf o ba rai y gorchfygwyd Rhodri. Dymchwelwyd Ethelbald yn ei dro (o.c. 742,) yn Henffordd, ond mewn undeb â Cuthred efe a orchfygodd Rhodri drachefn, yn Austcliffe, yn o.c. 743. Ym mhen deng mlynedd wedyn gorchfygwyd a lladdwyd Cuthred gan Rhodri, yng Nghaerloyw. Bu farw Rhodri fawr yn o.c. 755, ac olynwyd ef gan Cynan. Cwympodd Ethelbald yr un flwyddyn mewn ymrafael gwladol yn erbyn Bernred, yr hwn gan gael yn fuan ei ymlid ymaith o'r wlâd, a roddodd le i Offa fyned i orsedd Mers. Y ddraig euraidd—baner uchafiaeth milwrol Prydain, yr hon a gedwid yn y deyrnas Saesonaidd Orllewinol er amser teyrnasiad Ifor, a chawlid ac a ddyrchefid yn awr gan Offa. Yn o.c. 780, gwnaed ymgais ar benderfynu y llinell gywir o dirbarthiad rhwng treftadaeth y Cymry a'r taleithiau Saesonaidd ar ei thueddau dwyreiniol, drwy gytundeb rhwng Cynan ac Offa. Y llinell gysefin a fu ym mhob oes yn gwahanu y Cymry oddiwrth eu cyd-dylwythau yn Lloegr oedd yr hon o elwid y pryd hyny yn Glawdd Watt—yr oedd Clawdd Offa, y terfyn a fwriedid o newydd, yn ymwthio bedair milldir tu hwnt iddo i mewn i Gymru. Gan hyny, gomeddodd y Cymry ei gydnabod fel terfyn rhyngddynt; ac ar noswyl St. Stephan gwnaed rhuthr ar y caerfëydd bychain a godid arno yma ac acw, rhoddwyd y gwarcheidwaid i'r cleddyf, gwnaed yr amgaer agosaf i

Henffordd yn un â'r llawr, cymerwyd Henffordd ac Offa ei hun ar ol gwrthwynebiad gwrolwych a yrwyd ar ffô, ac yspeiliwyd a llosgwyd ei lŷs. Gan ffurfio cyngrhair â'r breninoedd Saesonig, efe a arweiniodd ei luoedd i Wynedd, a gwrthwynebwyd ef yn Rhuddlan (792) gan Caradoc, tywysog Powys, yr hwn oedd yn llywyddu y fyddin fel isgadben Cynan. Bu lladdfa fawr ar bob ochr yn y frwydr hon. Ym min yr hwyr cwympodd Caradoc, a'r Cymry gan encilio a adawsant y maes gwaedlyd i'r gorchfygwr. Cludwyd Offa adref ar elor feirch, a bu farw yn fuan wedi hyn o'r archollion a dderbyniodd yn yr ymladdfa. Mae galareb *Morfa Rhuddlan* yn coffâu fyth ym mhlith y Cymry farwolaeth Caradoc ar y Morfa angeuol hwn—Cannæ eu hanesion Gwyneddol.

Gadawodd Cynan yr orsedd (o.c. 817,) i'w unig ferch Esyllt (Isola), a thrwyddi hi i'w gwr, sef Merfyn, brenin Manaw, tywysog Powys, ac iarll Caerlleon-ar-Dwy. Dechreuid yn awr (o.c. 820,) alw y rhan arall o'r deyrnas ar dueddau deheuol y Tweed yn Angwlad, Einglwlad, neu *England*—pa un ai oddiwrth yr Angliaid, ac fel hyn gau allan fodolaeth y Saeson, neu oddiwrth ryw achos arall, nid yw yn eglur. Gan fod cymmysgiad y gwahanol dylwythau ynddi wedi pallu a bod yn adnabyddus fel Saeson cymerasant yn eu plith eu hunain, yr enwad cyffredin o Eingliaid neu *English*. Pa fodd bynag y mae y Cymry gyda chyndynrwydd nodebol yn dal i gadw mewn arferiad yr enwau *Lloegr* a *Saeson*.

Coronwyd Egbert o Saxonia Orllewinol (o.c. 824,) yng Nghaer Wynt, yn Bret-walda, (llywiedydd Prydain) yr hon urddas a fwriedid i gynddrychioli y Bendragoniaeth Frutanaidd. Efe a orchfygodd Merfyn yn Llanfaes, ym Môn, yn 825, ac yn 835 cymerodd oddiarno Gaerlleon-ar-Dwy, gan ei gwneuthur o hyny allan yn ddinas Saesonig. Distrywiodd yr holl hên gofadeiliau a cherfddelwau Brutanaidd, gan wneyd deddf ar roddi pob Cymro i farwolaeth a geid ar ochr ddwyreiniol yr afon Dyfrdwy.

Yn o.c. 843, cwympodd Merfyn mewn brwydr, yn Kittel, yn erbyn Berthulph o Mers, ac olynwyd ef i'r orsedd gan ei fab Rhodri Mawr. Newidiodd Rhodri eisteddle y llywodraeth o Gaernarfon i Aberffraw. Cwympodd yntau yn 847, fel ei ragflaenor, mewn brwydr ar lân y Menai, yn erbyn y Daniaid, ag oeddynt y pryd hyn yn arllwys eu

lluoedd ar bob parth o arfordiroedd Prydain. Ar ei ol ef daeth ei fab Anarawd i'r orsedd.

Yr oedd Egbert wedi sefydlu trefedigaethau Angliaidd yn y wlad rhwng Caerlleon-ar-Dwy a Chonwy—yr hon o'r herwydd a elwid Teg-engle. Llwyr ddinystriwyd y rhai hyn yn awr gan Anarawd a Hobart, tywysog Brutaniaid Ystrad Clwyd yn y Gogledd, a rhoddodd Anarawd y tir a feddianent i Hobart. Yna Edred, duc Mers, gan fyned i gyngrhair â'r Daniaid, a wnaeth ymgais i ddileu y gwarth hwn drwy ruthriad yn erbyn Gwynedd, ond gorchfygwyd ef yn hollol gan Anarawd gyda cholled o bymtheg mil o wyr, ym mrwydr *Dial Rhodri*, yng Nghynwyd, yn agos i Gonwy. Ar ol y fuddugoliaeth aeth Anarawd ymlaen drwy rym ei arfau i Loegr cyn belled a Chaer Guorio (Warwick), a dychwelodd gydag yspail ddirfawr.

Yn Lloegr dylynwyd Egbert i'r orsedd gan Ethelwulf—Ethelwulf gan Ethelbald—Ethelbald gan Ethelbert—Ethelbert gan Ethelred, yr hwn a olynwyd yn o.c. 871, gan Alfred. Prifweinidog a bywgraffydd Alfred oedd Asser (Geraint Fardd Glâs), esgob Llanelwy. Bu Alfred farw yn o.c. 901. Olynwyd ef gan Iorwerth yr Henaf, ac yntau a adawodd yr orsedd, yn 925, i Athelstan, yr hwn oedd yn fawr ei glod o herwydd ei fuddugoliaeth yn Bamborough ar y Daniaid, yr Ysgotiaid, a'r Llochlyniaid cyngrheiriol.

Yng Nghymru, pan yn gwneuthur ymgyrch yn erbyn Môn, cafodd Igmond y Daniad ynghyda'i fyddin eu llwyr oresgyn gan Anarawd, ym Maes Rhôs Meilion. Bu farw Anarawd yn 913.

Lladdwyd Idwal Foel ei olynydd a'i frawd Elissau pan yn ymladd yn erbyn y Daniaid, yn 940.

Gwnaeth Hywel Dda, ei olynydd, gasgliad mewn llyfr o gyfreithiau Prydain, gan beri ynddynt y fath drefniadau cymhwysiadol ag yr oedd amgylchiadau newydd gwladwriaeth y Cymry yn galw am danynt. Cyfreithiau Hywel ydyw y gwaith llenyddol penaf o lawer yn Ewrop a gyfansoddwyd yn yr Oesau Tywyll. Yr oedd ei deyrnasiad yn heddychlawn. Bu farw yn o.c. 948, gan adael tywysogaeth Cymru i Iago ac Ieuaf, meibion Idwal. Mae cŷd-deyrnasiad y tywysogion hyn am ugain mlynedd yn un olygfa o ymladdfëydd a rhyfel finteiol yn erbyn y Daniaid, Saeson, a chydymgeiswyr eraill. Olynwyd hwy gan Hywel, mab Ieuaf, yn 973, a chwympodd hwnw fel y rhan fwyaf o dywysogion Cymru yr amser hwn y'mhlaid ei wlad, o.c. 984.

Yn Lloegr, esgynwyd yr orsedd yn olynol gan Edmund I., yn o.c. 941,—Edred, 947—Edwin 955—Edgar, 959—Iorwerth y Merthyr, 975—ac Ethelred yr Anmharod, yn 978. Yr oedd y gyfundraeth Fonachaidd wedi cyrhaedd ei huchradd o dan Dunstan, penfynach Ynys Afallon ac archesgob Caer Gaint, yn 960, gan arddangos i'n sylw ddarlun mwy gresynus o ddarostyngiad y deall dŷnol nag a welwyd erioed cyn na gwedi yr amser hwnw. Ystyrid budreddi personol yn seintiolaeth, a brygawthiad amhwyllus gwallgofwyr crefyddol mewn caethiwed unigol yn ddadguddiadau oddiwrth Dduw. Yr oedd cyflwr gwleidyddol Lloegr, fel canlyniad gorfodol y fath goelgrefydd druenus, yn ddirmygedig i radd na bu erioed ei gyffelyb dan unrhyw ffurf o grefydd o'r blaen. Talai yr holl deyrnas deyrnged a elwid *Danegelt* i'r Daniaid—sef, swllt ar bob llain o dir cymaint ag y gallai aradr ei ddiwyllio mewn blwyddyn; ac yr oedd yspryd y bobl wedi myned mor ddirywiol, fel y dywed un awdwr cyfoesol, y rhedai "deg o Saeson pan welent un Daniad." Gan fod miloedd o'r gorchfygwyr hyn wedi ymsefydlu yn y wlad, ffurfiodd Ethelred II., gan ddynwared ystryw ei hynafiaid yn Nghaer Caradawg, gynllun i'w dirgel-lofruddio mewn un gyflafan gyffredin, yr hyn a wnaed yn unol â'r cynllun hwnw ar noswyl St. Ffraid, sef Tachwedd 18ed, 1002. Hon yw y drydedd gyflafan ag sydd wedi gadael gwarthnod o'r lliw duaf a mwyaf annileadwy ar hanesion y genedl Saesonig. Ond dylynwyd hi megys yr eiddo Caer Caradawg, gan ddialedd haeddianol. Glàniodd Sweyn, brenin Denmarc, yn Lloegr, anrheithiodd hi am ddeng mlynedd, ac yn 1012, ymlidiodd Ethelred allan o'r wlad, a chymerodd feddiant o'r orsedd. Olynwyd ef gan ei fab Canute Fawr, dan deyrnasiad pa un y cafodd rhan helaeth o'r ymherodraeth Arthuraidd—sef Lloegr, Llochlyn, Denmarc, a Sweden, eu hailymuno. Efe a fu farw yn 1036. Yn ystod teyrnasiad ei fab Harold I. (Harefoot,) llofruddiwyd Alfred, mab Ethelred, a mwy na mil o'i ddylynwyr Normanaidd gan Godwin, iarll Saesonig Caint. Gadawodd ei olynydd, Hardicanute, yr orsedd ar ol teyrnasiad byr, i Iorwerth y Cyffeswr, mab goroesol Ethelred—yr hwn oedd frenin coelgrefyddol a diyni, ar farwolaeth pa un yn 1066, yr hawliwyd yr orsedd gan Gwilym Duc Normandy. Gorchfygodd hwnw ei gyd-ymgeisiwr Saesonig, Harold, yn Hastings, a chyflawnodd oresgyniad Lloegr mewn un frwydr, Hyd. 4, 1066.

Cwympodd Idwal, olynydd Hywel, yn anrhydeddus fel yntau ar y maes, wrth ymladd yn erbyn Sweyn y Daniad, o.c. 993. Yr oedd teyrnasiad Llewelyn ap Sitsyllt, y tywysog nesaf, yn nodedig o herwydd y gwrthgyferbyniad dirfawr a welid rhwng llwyddiant Cymru a thrueni a diraddiad gwlad y Saeson—"yr oedd y bobl yn lluosogi yn rhyfeddol, a'r anifeiliaid yn cynyddu yn y fath rifedi fel nad oedd un dyn tlawd i'w gael yng Nghymru, rhwng y moroedd deheuol a gogleddol." Yr oedd gwroldeb dewrwych penaduriaid Gwynedd, a sêlid mor aml â'u gwaed pan yn blaenori eu deiliaid ar y maes, wedi cynyrchu canlyniadau cyfartal; y Daniaid wedi eu digaloni a'u dychrynu gan y derbyniadau o wrthwynebiad a'u cyfarfyddent bob amser ar dueddau gorllewinol yr Hafren, a beidiasant a'u hymgyrchoedd. Methasant ag ymsefydlu na gwneuthur goresgyniad yn unrhyw barth o Gymru—tra yr oedd Lloegr yn y cyfamser dan deyrnged, a Normandy wedi ei darostwng a'i threfedigaethu ganddynt hwy. Lladdwyd Llewelyn ap Sitsyllt yn fradwrus ar funyd y fuddugoliaeth ym mrwydr Caerfyrddin, pan yn ymladd yn erbyn Anlaff, yr hwn a gynnorthwyid gan Hywel a Meredydd, meibion Edwyn ap Einion. Yn o.c. 1021, meddianwyd yr orsedd gan Iago ap Idwal hyd 1037, pan yr hònnodd Gruffydd ap Llewelyn ap Sitsyllt hawl iddi, ac y lladdwyd Iago mewn brwydr a ymladdwyd yn ddewrwych ar lân afon Conwy. Yr oedd teyrnasiad Gruffydd ap Llewelyn yn gynnwysedig agos o lechres ddidor o frwydrau ynghyda rhuthriadau ysbeilgar yn erbyn Lloegr—cyfrifir dim llai na chant a deg o honynt, ym mha rai efe ei hun oedd y gweithredydd mwyaf amlwg. Cafodd ddwy fuddugoliaeth nodedig ar unol fyddinoedd y Daniaid a'r Saeson, dan Leofic ac Edwin, ieirll Mers a Northumbria, yn Crosford, ar lân yr Hafren, yn 1040, ac ar lân afon Gwy, yn 1041. Yn 1050, cafodd fuddugoliaeth fawr arall yn Henffordd, a'r bedwaredd, yn 1053, yn yr un lle pan yn ymladd yn erbyn iarll Ranulph. Gwnaed Henffordd yn un â'r llawr, a dychwelodd y tywysog Cymreig yn ol, megys y dywed Caradoc, gyda goruchafiaeth fawr, llawer o garcharorion ac yspeiliadau dirfawr; gan adael y cyffiniau Saesonig yn un olygfa o waed a lludw. Nid yw hanes bywyd Gruffydd bellach ond mynychiad, flwyddyn ar ol blwyddyn, o olygfeydd cyffelyb, yn rhoddi *eglurhâd bywiog* o'r hyn a elwir gan Sharon Turner yn

"chwant anniwalladwy y Cymry am ryfel." Dirgel-lofruddiwyd Gruffydd drwy gydfrad Harold, mab Godwin, yn y bedwaredd-flwyddyn-a'r-ddeg-a'r-hugain o'i deyrnasiad, ar Benmaenmawr. Dywed hanesydd Llancarfan "mai anrhydeddusaf oedd efe a'i dad o'r holl dywysogion a fuant hyd yn eu hamser yn Nghymru, a goreu am wroldeb a rhyfel, ac am heddwch, ac am lywodraeth, ac am haelioni a chyfiawnder." Gadawodd un ferch ar ei ol, sef Nest, yr hon a briododd Trahaiarn ap Caradog, yr hwn yn ei hawl hi a esgynodd i'r orsedd. Eppil y briodas hon oedd Gwallter Ddu, dechreuydd llinach Stewartiaid yr Alban. Gweddw Gruffydd, sef Edith y Brydferth, neu yr Wddfalarchaidd, a briododd Harold. Hi oedd yr hon, wedi pallu o bob ymdrech arall, a ddarganfyddodd gorff Harold ar y maes yn Hastings.

Olynwyd Gruffydd gan Bleddyn a Rhiwallon, meibion Cynfyn, y ddau gyd â'u gilydd. Cwympodd Bleddyn yn aberth i gweryl cyfrinachol, yng Nghastell Powys, yn y flwyddyn 1073. Yn y bedwaredd-flwyddyn-a'r-ddeg o'i deyrnasiad ef, megys y gwelsom, y bu goresgyniad Lloegr gan y Normaniaid.

Y cyfnod Saesonaidd oedd cyfnod yr Oesau Tywyll yn ein Hynys—cyfnod o farbareidd-dra heb arno nawd o'r bron ar yr hon y gall yr hanesydd aros gyda hyfrydwch. Yn niwedd y drydedd ganrif, addurnid Prydain, ar dueddau deheuol y Forth, gan bedair-a'r-bymtheg-a-deugain o ddinasoedd ardderchog—yr oedd ffyrdd yn traws-redeg ar ei hyd ym mhob cyfeiriad—yr oedd aneddfëydd yn gorwychu pob sefyllfan hardd ac iachusol. Ond diflanodd y rhai hyn oll yn ystod yr amser pruddaidd hwn. Dywed Kemble, tu dal. 290, fod Lloegr "wedi myned yn llwyr allan o ddiwylliad—fod y tir yn orchuddiedig gan goedwigoedd—fod y Saeson wedi cael yr hen ddinasoedd mewn cyflwr cyfan—fod eu mawrwychedd yn tynu sylw haneswyr ystyriol, a bod eu gweddillion eto yn dwyn tystiolaeth i fedr a rhagwelediad eu hadeiladwyr, ond na chymerodd y Saeson feddiant o'r trefydd na'r drafferth i'w distrywio; fod yn dra thebyg eu bod wedi cymeryd ymaith yr estyll a'r coedwaith, a bod gweithrediad anweladwy yr elfenau wedi gwneuthur y rhan arall o'r gwaith. Ym mhlith mynyddoedd y Cymry, cenedl a ddarostyngwyd mor lleied gan y *Rhufeiniaid a chenym* ninau ein hunain, yr oedd olion yr

hen wladyddiaeth yn unig i'w cael." (tu dal. 386.) Ffynodd y gaethfasnach ym mhlith y Saeson hyd mor ddiweddar a'r flwyddyn o.c. 1080, yn ei holl warthusrwydd annaturiol ac echryslawn. Dywed Wulfstan, esgob Caer Gorangon (Worcester), pan yn ysgrifenu yn y flwyddyn hono,—"Golygfa drymaidd yw gweled yn y marchnadleoedd cyhoeddus rengau o bobl ieuainc o bob ystlen, wedi eu rhwymo y'nghyd â rhaffau. Ffaith ysgeler! a gwarth truenus. Dynion yn anystyriol hyd yn oed o serch y greadigaeth anifeilaidd; yn trosglwyddo eu perthynasau, ïe, eu heppil eu hunain i gaethiwed." "Yr oedd y cyfreithiau Saesonaidd," fel y sylwa yr hanesydd Whittaker, "yn ddirmygedig o herwydd eu dinerthwch; eu harferion yn gywilyddus o herwydd eu hanghymedroldeb; ac os gallwn am funyd ddarbwyllo ein hunain fod eu hiaith yn meddu unrhyw swynion, y mae hyny o herwydd ei bod yn ffurfio sail glegyrog ein hiaith ein hunain. Am ddim arall, heblaw hanesiaeth gyffredin, nid oes genym un prawf yn aros ond iaith, fod y fath genedl o ddynion a'r Saeson wedi bodoli erioed yn ein plith." Yr ydym yn awr yn myned ymlaen at y cyfnod Normanaidd.

---

## Y CYFNOD NORMANAIDD—Y CANOL OESAU.

Yr oedd cymeriad anianol y Normaniad yn groes i eiddo y Saeson. Gan fod o wreiddyn Cymröaidd, gwnaed ei ardymer filwrol yn fwy nerthol fyth drwy y cymysgiad helaeth o waed Brutanaidd a dderbyniodd yn Ffrainc—mewn gwirionedd nid yw Normaniad hanesiaeth Saesonig ond Bretoniad Cymroaidd neu Ddaniad Bretonaidd. Yr oedd y cyfathrachau parhaus a gymerent le rhwng teuluoedd Raoul o Normandy a Cynan o Lydaw, yn ei wneuthur yn amheus pa waed oedd yn oruchafol yng ngwythenau y breninoedd a'r duciaid Normanaidd. O ganlyniad, yr oedd ffurf y meddwl Normanaidd wedi ei gyflunio yn hollol gan ddylanwadau a theimladau Bretonaidd neu Frutanaidd, mewn gwrthgyferbyniad i eiddo yr Allmaenwr neu y Sais. Addolid Arthur

ganddo fel arwr ei hiliogaeth a'i gredo—ffurfiai ei hun yn unol ag ef fel drŷch a delwad gwroniaeth; hawlid Prydain ganddo fel ei etifeddiaeth; ac ystyrid yr ennilliad o honi yn Hastings fel ailgaffaeliad ei wlad gyndadol oddiar ormeswyr Allmaenaidd, yn hytrach nag fel goresgyniad gwlad dramor Yr oedd yr holl daiogion mawrion rhwng pa rai y rhanwyd Lloegr gan Gwilym i raddau mwy neu lai yn Normaniaid Llydawaidd, a chan mwyaf yn perthyn iddo ei hun. Gan gysylltu wrth y goron diriogaethau Iorwerth y Cyffeswr a theulu Godwin, (1,422 o faenorau), rhoddodd i'w hanner brawd, sef Iarll Moretain, 793 o brif faenorau gwriogaethol (*fiefs*)—i'w fabynghyfraith, Alan Fergaunt, Iarll Llydaw, 442—i'w hanner brawd arall, sef Odo, esgob Bareux 439—i Hugh Comes, neu iarll Caerlleon, 400 —i Roger Montgomery (Mont de Cymry, Iarll Amwythig,) 369—i Raoul de Gael, y Bretoniad dû, 250—i Ilbert de Laci, 116—ac i Gwilym Peverel ei fab ordderch, 162.

Gydag ychydig o eithriadau difeddienwyd y perchenogion Saesonaidd ym mhob man o'u hetifeddiaethau a chawsant eu darostwng i gaethwasiaeth. Yr oedd y gyfundrefn wriogaethol, neu gyfundrefn yr arglwydd buddugoliaethus a'r caethwas gorchfygedig, wedi ei sefydlu yn ei holl lymder megys ffurflywodraeth Lloegr, mewn cynnadledd o'r holl farwniaid a'r clerigwyr yng Nghaer Wynt, yn 1088. Sefydlwyd y Lladin Francaidd neu Normanaidd i fod yn iaith y llywodraeth, llysoedd y gyfraith, a'r swyddfëydd cyhoeddus—gwaharddwyd arfer yr iaith Saesonaidd—gwnaed arolygiad milwrol o'r deyrnas, a phob maenor o'i mewn a ddelid drwy gleddyf y gorchfygwr. Y gwaith hwn, y cyffesiad mwyaf cyflawn a darostyngol a osodwyd erioed ar wlad o'i hollol oresgyniaeth, a elwid gan y Saeson annedwydd, yn "Llyfr dydd y Farn"—llyfr eu tynged; yn yr hwn y dangoswyd "gan lleied o drugaredd i'w hiliogaeth ag a ddangosir i bechaduriaid yn nydd mawr y farn." Cenid yr hwyrglôch bob nôs, yn arwydd i'r holl gaethfrodoriaeth ym mhob tref a than gysgod pob castell, i ddiffodd eu tânau a phob goleuni yn eu tai, ac i ymneillduo i wâlas oer, dywell, ac anobeithiol y caethwas. Ni chaniateid i un Sais freuddwydio am gymysgu ei waed ag eiddo Normaniad; nis gallai gael ond un enw—meddai y Normaniad ddau, y diweddaf yn dynodi ei faenor, a thrwy hyny yn arwyddo ei fod ef yn perthynu i'r rhestr breiniedig. Am

dri chân mlynedd nid oes un enw Saesonaidd yn meddu sefyllfa mewn hanesiaeth Saesonig, ond un gwasaidd; ac mor ddiweddar ag amser Rhisiart II., nis gallai y croniclwyr Normanaidd drosglwyddo i glustiau y Normaniaid un teimlad mwy awchlym o'r diraddiadau i ba rai yr oedd y teyrn hwn yn agored na "bod ei saethyddion yn swydd Caerlleon yn meiddio ei gyfarch yn yr iaith Saesonig." Cliriwyd taleithiau eang yn lân o'u poblogaethau Saesonaidd, a pharciwyd hwynt yn goedwigoedd breninol a barwnol, gan gael eu llenwi â cheirw. Anafiad y corff neu farwolaeth oedd y gosb a roddid ar bob Sais a ddelid gydag arf yn ei law yn y tiroedd helwrol hyn o eiddo ei orchfygwr. Gallwn yn hawdd deimlo ein hunain wedi ein gorlenwi â syndod wrth feddwl y buasai cenedl ag oedd yn naturiol mor wrol â'r genedl Saesonaidd, yn ymddarostwng i ruddfanu am ganrifau yn y fath gyflwr o gywilydd a chaethiwed Aiphtaidd.

Ar linell yr Hafren, beth bynag, daeth y Normaniad i gyffhwrdd â chenedl gystlynaidd, gydag hanesiaeth a thraddodiadau pa un yr oedd ef ei hun i fesur helaeth yn unedig. Gyda'r gwyr hyn, y rhai fel ef ei hun ni chydnabyddent neb yn uwchraddol iddynt, gallai ymgyfathrachu neu ymdrin ag unrhyw achosion ar delerau cyfartal. Ymddiriedwyd y cyffiniau rhwng Lloegr a Chymru i geidwadaeth y barwniaid Normanaidd mwyaf galluog. Gwnaed swydd Caerlleon yn iarllaeth freninol neu deyrn-iarllaidd, ym meddu ei phenadur, ei bâth-dy, a'i senedd ei hun. Fel amddiffynfa Lloegr yn erbyn ymgyrchoedd ffrochwyllt tywysogion Gwynedd, byddai bob amser dan ddeddf filwrol; ac nis gallai yr iarllaeth fel maenorau mawrion eraill, ddisgyn i'r gogail—ond elai yn ol y cleddyf. Yr oedd yr uchel swyddog De Lacy, dan yr iarll Hugh y Blaidd, yn dal ei swydd uchel ar yr amod o arwain y flaen-fyddin Normanaidd i Gymru, a'r ol-fyddin Normanaidd, allan o honi. Ei helm-arfau oedd gwiber, a'i dannedd wedi eu sicrhau ym mynwes y ddraig goch—arwydd Cymru. Gyda golwg ar ddwyn ymlaen yr un gyfundrefn, yr hon oedd i ffurfio trefniant milwrol y Normaniaid er amddiffyn y cyffiniau gorllewinol, ac os byddai bosibl, beri cydgorfforiad y Dywysogaeth, cysylltwyd y swydd o Ben-ceidwad Lloegr ynglyn â Chaerloyw, a'r swydd o Iarll-ardalydd ynglyn â chyffiniau Penfro. Adeiladwyd rhes o gaerfëydd o Gaerlleon i Gaerwent, ac oddi yno i Benfro; a phob un o honynt yn

cynddrychioli tiriogaeth a chleddyf rhyw arglwydd ardalydd, hyny yw, rhyw farwn wedi cael caniatâd a breinteb gan ei uwchafiaid gwriogaethol i oresgyn rhyw wlad yng Nghymru, ac i'w chadw mor rhydd drwy y cleddyf ag yr oedd y brenin Normanaidd ei hun yn cadw Lloegr. Ond gan fod yr ardalyddion arglwyddaidd hyn yn ymbriodi â merched y tywysogion a'r pendefigion Cymröaidd, deuent eu hunain mor Gymröaidd ag oeddynt yn Normanaidd—o ganlyniad yr ydym yn eu cael mor aml dan arfau yn cael eu cynnorthwyo gan y Cymry yn erbyn y teyrn Normanaidd, ag oeddynt yn cael eu cynnorthwyo gan eu deiliaid Saesonaidd ac adgyfnerthion tramor yn erbyn y teyrn Cymreig. I'r cyfathrachau hyn y dylid priodoli nodweddiad dyrys yr hanesion Cymreig yn ystod y cyfnod hwn—lle y cawn yr un arglwydd ardalydd yn ymddangos mewn un tudalen fel ymosodwr Normanaidd yn erbyn y Cymry, ac yn y dudalen nesaf fel penaeth Cymröaidd yn blaenori ei wyr yn erbyn Lloegr. Ni bydd i ni adrodd ond yn unig y prif ddygwyddiadau a'r gweithredwyr perthynol i bob teyrnasiad—gan nad yw yr yspaid mewn golygiad milwrol yn dangos ond ychydig mwy nag ail-adroddiad o'r un gwrthwynebiad anmhlygedig ar ran y Cymry yn erbyn y gelyn Normanaidd ag a gynnaliwyd gan eu hynafiaid yn erbyn arfau y Rhufeiniaid, Teutoniaid, a'r Daniaid. Ymddengys y Dywysogaeth rai prydiau fel wedi ei hollol ddarostwng, a chyhoeddir ei bod felly yng nghôf-ysgrifau y llywodraeth Normanaidd; ond yn fuan wed'yn y mae hi yn ymgodi, oddiwrth yr Eryri hyd Gaerdydd, gan ddinystrio pob caerfa Normanaidd, a bwrw allan o'i chyffiniau bob milwr Normanaidd. Ni bu tywysogion galluocach a gwronach na'r linach Wyneddol, o Rodri Mawr i Glyndwr, yn llywio teyrnwialen cenedl o bobl, y rhai sydd yn awr yn ddiau yn ateb i'r darluniad a gymhwysid at eu cyndadau gan Tacitus,—*Cimbri, gens pauci numero sed gloria ingens.*—"Y Cymry, cenedl yn ychydig mewn nifer, ond o enwogrwydd dirfawr."

Olynwyd Bleddyn gan Trahaiarn ap Caradoc. Efe a orchfygodd Gruffydd ap Cynan ap Iago ap Idwal, y gwir etifedd, ym Mron-yr-erw, yn agos i Harlech. Cwympodd Rhys, tywysog deheubarth Cymru hefyd mewn brwydr yn ei erbyn, gan adael gorsedd y Deheu i Rhys ap Tewdwr Mawr. Ond Gruffydd ap Cynan a Rhys ap Tewdwr gan uno eu lluoedd ar ol hyny, a laddasant Trahaiarn ar fyn-

yddoedd Carno, mewn brwydr a ddechreuodd gyda chodiad yr haul ac a barhaodd drwy ran o'r nôs ganlynol. Ffôdd ei fab Gwallter Ddu, gyda thri chant o ganlynyddion ei dad, i'r Alban, ac efe oedd sylfaenydd teulu y Stewartiaid. Dechreuodd Gruffydd deyrnasu yn 1080, ond cafodd ei lithio drwy frâd-ddichell Meirion Gôch, yn Rûg, i ddwylaw Ieirll Normanaidd Amwythig a Chaerlleon, a'i garcharu yng nghastell Caerlleon. Aeth yr ieirll yn ddioed ar ymdaith i Wynedd, a chodasant gastellydd yng Nghaernarfon a Bangor. Aeth Gwilym y Gorchfygwr ar bererindod yn 1084, i greirgell Llanddewi. Ar ei ol daeth Gwilym Rufus i'r orsedd, yn 1087. Gan fod Rhys ap Tewdwr wedi ymlid Einion allan o Ddyfed, cymerodd Einion nodded gydag Iestyn ap Gwrgant, arglwydd Morganwg, yr hwn ar yr addewid iddo gael ei ferch (Nest) yn wraig, a'i rhwymodd i gael cynnorthwy y llŷs Normanaidd yn erbyn Rhys. Fel hyn y dygwyd Robert Fitzhamon a deuddeg o farchogion i mewn i ddeheubarth Cymru. Gorchfygwyd Rhys yn Hirwaen, a rhoddwyd ef i farwolaeth yn ei 92ain mlwydd, yn Glyn Rhoddnai. Gan fod Iestyn yn gomedd rhoddi Nest i Einion, darbwyllwyd Fitzhamon i ymruthro arno ar le elwid Mynydd-bychan, pan y dymchwelwyd y tywysog Cymreig, a threngodd yn fuan wedi hyny yn Llangenys. Rhanodd Fitzhamon Forganwg rhwng ei farchogion. Pa fodd bynag, gan i Payne Turberville briodi Assar, merch Morgan o'r Coity, ymwrthododd â'i lw o ffyddlondeb i'r llywodraeth, ac wrth ben y Cymry gorchfygodd Fitzhamon, a gwnaeth iddo wneuthur cytundeb yn gwarantu iddynt eu hen gyfreithiau a'u hiawnderau. Priododd Harri I. mab ieuaf y Gorchfygwr, Nest, merch Rhys ap Tewdwr. Ymddygodd hono iddo ddau o feibion—sef, Robert Iarll Caerloyw, a Harri Fitzroy o Raglan: Robert fel gwladweinydd, cadfridog, a noddwr llenyddiaeth, oedd yr un mwyaf clodfawr yn ei oes, gwraig yr hwn oedd Sybil; unig ferch ac etifeddes Fitzhamon.

Gwnaed ymrwymiadau cyfathrachol eraill yn fuan rhwng y teuluoedd mawr Normanaidd a Chymröaidd. Priododd Gwilym Fitz-Otho, castellan Windsor, Gwladys, merch Rhivallo, tywysog diweddar Gwynedd. Gadawsant dri o feibion ar eu holau—Gwilym, cyndad arglwyddi Windsor—Robert, cyndad ieirll Lansdown, a Kerry—Gerald, ail ŵr y Nest uchod ferch Rhys ap Tewdwr, cyndad Duciaid

Leinster, y Geralds, y Geraldiaid, &c., &c. Priododd Bernard Newmarch, arglwydd ardalydd Brycheiniog, Nest arall, sef, ŵyres i Gruffydd ap Llewelyn, tywysog Gogledd Cymru. Eu hunig ferch a'u hetifeddes, sef, Sybil, a briododd Gwallter Milo, iarll Henffordd, mab Gwallter y Brutwn, pen-ceidwad Caerloyw, ac Emma, merch henaf Drogo de Baladun, ardalydd Abergafenni. O'r undeb yma y disgynodd ieirll Henffordd, y Bigodiaid, ieirll Norfolk, ieirll Buckingham, &c., ymsuddodd y llin hynaf ym Mlantagenetiaid Caerwerydd. Wyresau Robert, iarll Caerloyw, a briodasant Fitz-Alan, y Llydawiad o Clun, a Randal Gernons, iarll Caerlleon. Daeth Mortimer, ardalydd Normanaidd Wigmore, drwy ei briodas mewn amser dylynol gyda Gwladys Ddu, unig ferch Llewelyn Fawr, yn etifedd cyfrifedig y Dywysogaeth ei hun. Un o'u hwyrion hwy oedd Harri Hotspur. Mae yr engreifftiau hyn yn ddigon i arddangos yr anhawsder dirfawr o fedru traethu ynghylch teuluoedd barwnol galluog y Canol Oesau i raddau helaeth, yn amgen nag fel llywodraeth gydbendodol Normanaidd-Gymreig, yn argymhell eu hewyllys eu hunain rai prydiau ar eu hisfreninoedd gwahanredol yn Llundain a'r Eryri; a phrydiau eraill yn cael eu gorfodi i ufudd-dod lled anwadal.

Rhyddhawyd Gruffydd ap Cynan o gastell Caerlleon drwy ystryw feiddgar o eiddo Cynric Hir, yr hwn a'i cludodd yn rhwym mewn cadwynau, drwy ei warcheidwaid, ac a'i dygodd yn ddyogel i fryniau Clwyd, yng Nghymru. Yn ystod y flwyddyn hono cymerwyd a dinystriwyd pob castell Normanaidd, oddieithr un Penfro, gan Gruffydd. Gwilym Rufus pan yn ymdrechu adferu bri y lluoedd arfog Normanaidd, a orchfygwyd yn Nhrefaldwyn, a gorfu arno ffoi. Gwnaed Trefaldwyn yn gyfranog o dynged y noddfeydd eraill, ac ni chafodd ei hail-adeiladu. Dyoddefodd y Normaniaid ddymchweliadau cyffelyb yn Neheu-barth Cymru drwy holl ystod teyrnasiad Harri II. Cwympodd Roger de Montgomery, Iarll Amwythig, Gwilym Fitz-Eustace, Iarll Caerloyw, a barwniaid eraill mewn gwahanol frwydrau.

Gorchfygwyd ail-ymruthriad o eiddo Gwilym Rufus yn 1094. Lladdwyd iarll Amwythig arall, sef Hugh Gôch, ar lân y Menai, yn 1096, gan Magnus o Lychlyn. Dymchwelwyd Gilbert Strongbow, yr hwn a ymdrechodd Normaneiddio swydd Aberteifi, gan Gruffydd ap Cynan, a gorfodwyd ef i ffoi at Harri I. Yr oedd Cadwgan ap Bleddyn

a'i fab Owain yn wyr tra nodedig yn amser teyrnasiad Gruffydd. Yn 1115, pan wnaed trais-ymgyrch ar Gymru gan fyddin o 120,000 o wyr dan Harri I. cilgwthiwyd y cwbl gan yr unedig dywysogion Cymreig. Cfrifir deunaw o'r ymgyrchoedd hyn a ddylynid gyda cholled o dros filiwn o wyr fel wedi cymeryd lle rhwng 1070 a 1420. Dymchwelwyd hwy drwy fedrusrwydd rhyfedd gan benaduriaid Gwynedd.

Gorchfygwyd Gwenllian, gwraig Gruffydd ap Rhys, tywysog y Deheubarth, yn ei absenoldeb, gan Morris de Londres, ac ar ol y frwydr torwyd ei phen hi ym Maes-Gwenllian, yn Cydweli. Y flwyddyn ganlynol dymchwelwyd y Normaniaid yn hollol yn Aberteifi, gan Owain Gwynedd, mab hynaf Gruffydd ap Cynan, gyda cholled o dair mil o laddedigion a chwe mil o garcharorion. Bu Gruffydd farw yn 1137, ar ol teyrnasiad hir o un-mlynedd-a'r-bymtheg-a-deugain. Olynwyd ef gan Owain Gwynedd.

Yn ystod y teyrnasiad hwn gorchfygwyd y Normaniaid —yn 1af, yn Llanstephan,—2il, yn y Wyddgrug, 1145,—yn 3ydd, yng Nghwnsyllt,—4ydd, yng Nghoed Eulo, yn agos i Benarlag,—5ed, ym Môn,—ac yn 6ed, yn Basingwerk.

Owain Cyfeiliog, tywysog Powys, Gerald, Hywel, a gwyr enwog eraill, a flodeuasant yn yr amser yma, yr hwn a elwid yn gyfnod Augustaidd Cymru. "Diau mai Cymry y canol oesau," medd Thierry, hanesydd y goresgyniad Normanaidd, "oeddynt y bobl mwyaf gwybodus yn Ewrop." Dygir yr un dystiolaeth gan Esgob Percy, yr hwn a chwanega nad oedd na Ffrainc, yr Eidal, na Lloegr, wedi dwyn allan eto gyfansoddiadau teilwng i'w henwi mewn cymhariaeth i'r cynnyrchion barddonol penigamp a fwrid allan gan delyn rydd y Dywysogaeth.

Bu farw Owain Gwynedd ar ol bod yn teyrnasu yn rymus am ddeuddeg-mlynedd-a'r-hugain, ac olynwyd ef gan ei fab Dafydd, am fod ei fab hynaf Iorwerth Drwyndwn, yn anghymhwys i esgyn i'r orsedd, o herwydd rhyw anaf personol oedd arno.

Ar farwolaeth Owain Gwynedd, darparodd ei fab Madoc, yr hwn oedd wedi bod yn llywio ei lyngesau, wyth o longau, a darganfyddodd yr Amerig, yn 1160. Efe a ddychwelodd yn ol yn 1164, a chydag ail lynges o ddeunaw llestr a thair mil o'i gyd-wladwyr, croesodd y Môr Werydd, a chymerodd feddiant o orsedd a theyrnas Mexico. Mae traddodiadau

teuluol y teulu breninol Mexicanaidd, pan wnaeth yr Hispaeniaid, dan lywyddiaeth Cortez, ymgyrch yn erbyn eu gwlad, yn cadarnhau yn eglur fod eu tarddiad gwreiddiol o Madoc a Phrydain.

Gorfodwyd Dafydd ap Owain Gwynedd, ar ol teyrnasiad byr, i roddi yr orsedd i fyny i'r gwir etifedd, Llewelyn ap Iorwerth Fawr, yn 1194, Coronwyd Llewelyn yn yr unfed-mlwydd-a'r- bymtheg o'i oedran.

Teyrnasodd Llewelyn Fawr, yr hwn a elwid felly nid oddiwrth eangder ei oresgyniadau, ond oddiwrth y medrusrwydd ardderchog drwy ba un y cyflawnodd efe hwynt yn erbyn anghyfartaledd dirfawr y gallu Normanaidd, dros fwy na hanner cant o flynyddoedd. Yn ystod yr amser hwn ymladdwyd rhai o'r brwydrau caletaf rhwng y ddwy deyrnas—yn 1af, yng nghastell Maesyfed; 2il, yng nghastell Payne; 3ydd, yn Rhuddlan; 4ydd, ar lân Tywi, rhwng Gruffydd ap Llewelyn ac Iarll ardalydd Penfro; 5ed, yn Ceri, yn swydd Trefaldwyn; 6ed, yn Nhrefaldwyn; 7ed, yn Grosmont; 8ed, yng Nghaerloyw.

Yn y flwyddyn 1235, gwnaed heddwch â Harri III.—pan y cytunodd Llewelyn ym mhlith amodau eraill ar fod i holl farwniaid y cyffindiroedd gael eu hadsefydlu gan Harri yn eu hanrhydedd a'u hetifeddiaethau, yr hyn mewn canlyniad a gymerodd le. Rhoddodd Llewelyn ei ferch, Gwladys Ddu, yn wraig briod i Roger Mortimer, arglwydd Ludlow a Wigmore,—oddiyma y cododd yr hawl Fortimeraidd i goron Cymru. Disgynydd llinachol o'r undeb hwn, oedd Iorwerth IV. Bu farw Llewelyn Fawr, Ebrill 11eg, 1240, a chladdwyd ef gyda gorwychder mawr ym Monachlog Cynwy. Ei frenines oedd Ioanna, merch Ioan, brenin Lloegr. O ganlyniad yr oedd ef yn frawd yng-hyfraith i Harri III. Mae un o'i ddywediadau yn haeddu cael ei gôfnodi. Yr oedd Harri III. yn wr haelionus iawn yn ei elusenau. Pan ddangoswyd i Llewelyn ar un achlysur yn Nhrefaldwyn, restrfa o holl luoedd milwrol Lloegr, ac y bygythiwyd ef ag esgymundod gan y Pab os parhae i ddwyn ymlaen ei ryfeloedd, atebai yn dyner, "Yr wyf yn ofni elusenau fy mrawd yn fwy nag yr ydwyf yn ofni holl fyddinoedd Lloegr, neu fygythion y pab a'i glerigwyr."

Trawsfeddianwyd yr orsedd gan Dafydd, ail fab Llewelyn, er niwed i'w hanner brawd, sef Gruffydd, yr hwn a ataf-aelwyd ac a garcharwyd ganddo ef yng Nghastell Cricci-

eth, yn swydd Gaernarfon. Ei fam ydoedd Ioanna, merch Ioan; o ganlyniad yr oedd ef yn nai i Harri III. ac yn gefnder i Iorwerth I. Priododd ei chwaer Gwenllian, Gilbert de Lacy, pen-ceidwad Caerlleon, yr hwn yn ei hawl hi a ddaeth yn arglwydd ar gastell Dinbych. Mam Gruffydd oedd Tangwystl, merch Llywarch, arglwydd Rhos. Er mwyn cefnogi ei nai Dafydd yn erbyn Gruffydd, y gwir etifedd, cyflawnodd Harri weithred o'r twyll mwyaf diffaeth. Ymdrechodd Arglwydd Mortimer o Ludlow, yr hwn oedd wedi priodi Gwladys Ddu, chwaer Gruffydd, gydag esgob Bangor, i gael rhyddhâd i Gruffydd, ond yn ofer. Yr oedd Dafydd yn annyhuddgar. Yna gwnaeth Sina neu Senena, gwraig Gruffydd, apeliad at y llŷs Normanaidd. Harri, wedi cael ei ddylanwadu am beth amser gan ei hapeliad hi a'r hyn a ddygid ger bron gan lawer o bendefigion Cymreig, a anfonodd orchymyn at Dafydd i ryddhau ei frawd. Ond gomeddodd Dafydd wneuthur hyny, pan yr aethHarri mewn canlyniad gyda byddin fawr ar ymdaith i'r Amwythig. Yma arwyddwyd cytundeb rhyngddo ef a Senena, yn sicrhau i Gruffydd ei ryddid a meddiant o'i orsedd. Pan glywodd Dafydd am y cytundeb hwn dechreuodd ddwyn ymlaen ymdrafodaeth gyda'i ewythr, y canlyniad o ba un ydoedd ddarfod i Harri gytuno yn ddirgelaidd i fradychu Gruffydd, ar yr amod y byddai i Dafydd adferu i'r goron Normanaidd holl barthau goresgynol ei dad ar y cyffiniau. A'r hyn y cydsyniodd Dafydd, yr hwn oedd fab dirywiol i frenin mawr. A chadarnhawyd y cytundeb yma. Dan rith ufuddhau i orchymynion ei ewythr, rhoddwyd Gruffydd a'i fab Owain i fyny gan Dafydd i'r prwyadur Normanaidd, Syr John de Lexington; ond yn lle cael eu hadferu i ryddid a'u coron, trosglwyddwyd hwy drwy orchymyn Harri i Lundain, a chawsant eu carcharu yn y Tŵr. Dyma y weithred dduaf yn nheyrnasiad hir Harri III. Gwaherddid i'r dywysoges Senena hyd yn oed gael gweled ei gwr a'i mab, a bu farw yn fuan wedi hyny o doriad calon. Trengodd Gruffydd fel aberth i'r wladlywiaeth greulawn hon yn y Tŵr—drwy ba foddion a erys o anghenrheidrwydd ym mhlith y dirgelion a gladdwyd yn y carcharle pruddaidd hwnw, a fu yn garchar ac yn fedd i gymaint nifer o wroniaid a gwladgarwyr. Mae yr adroddiad a roddwyd allan gan ei geidwaid yn dwyn ar ei wyneb brawf o gamdriniaeth. Harri yn ddioed a greodd ei fab Iorwerth

t. yn dywysog Cymru. Gan fod Dafydd, (Ioan yr hanesion Cymreig,) yn meddu gwaed annheilwng Ioan yn ei wythenau, pan glywodd am y weithred newydd hon o frâd-ddichell —yn lle apelio fel y gwnaeth ei hynafiaid bob amser at galonau a chleddyfau ei ddeiliaid, cynnygiodd ddal Cymru fel maenor wriogaethol y Babaeth, os byddai i'r Pab ei ryddhau oddiwrth ei lwon a'i ymrwymiadau. Gafaelodd y Pab yn y cynnygiad, ac anfonodd yr awdurdod angenrheidiol i benaethiaid ysprydol mynachlogydd Cymru, y rhai yn unol â hyny a roisant wys i Harri i ateb ger eu bron yng Nghaerwys. Ond Harri yn lle hyny a anfonodd swm mawr o arian i lŷs Rhufain, yr hwn lŷs gyda'i chwant arferol at elw, gan werthu ei hun i'r cynnygydd uchaf, a esgymunodd Dafydd, ac a gadarnhaodd hawl-hôniadau Iorwerth i'r Dywysogaeth. Ond rhoddodd Dafydd o'r diwedd ei achos o flaen ei bobl. Ac atebasant hwythau yr alwad gyda'u hysbrydlawn yni arferol. Ymgyrch Harri, yr hwn a adnabyddid yn hir ar ol hyny wrth yr enw *Scutage Gannoc*, o herwydd gosodiad y dreth hynod o ddeugain swllt ar bob *scutum* neu obr marchog (*knight's fee*) yn Lloegr, a Gannoc neu gastell Diganwy, ar afon Conwy, er dwyn traul yr ymgyrch, a wrth-hyrddiwyd "gyda lladdfa alarus o ddynion a meirch" ar du y Normaniaid. Parhaodd y rhyfel yn ffyrnig hyd o.c. 1246, pan y bu farw Dafydd yn ei annedd yn Aber, heb adael eppil ar ei ol. Yr oedd Gruffydd ap Llewelyn wedi gadael tri o feibion ar ei ol, sef Llewelyn Olaf, Owain, *detenu* yn y llŷs Normanaidd, a Dafydd. Etholwyd Llewelyn ac Owain gan y pendefigion Cymreig yn gyd-benaduriaid. Penderfynwyd ar un o'r heddychiadau arfogol, i'r rhai y rhoddai y croniclwyr Normanaidd y titl urddasol o gytundebau heddwch, ac yn unol a hwnw rhoddwyd i fyny y pedair Cantref, sef, castelli Dinbych, Rhuddlan, Fflint, a Rhuthyn, i Harri. Edrychid ar y telerau hyn a ddirgymhellwyd ar Llewelyn o barth cydraniad y deyrnwialen, gydag anfoddlonrwydd dirfawr gan y genedl. Ond galluogwyd hwy yn fuan gan amgylchiadau i roddi eu teimladau mewn gweithrediad. Pan yr oedd Owain a Dafydd yn cyd-fwriadu diorseddu Llewelyn, efe a'u gorchfygodd hwynt ac a'u trosglwyddodd i garchar caeth. Gan ei fod yn feistr yn awr (o.c. 1254,) ar ei sefyllfa, cyhoeddodd Llewelyn ryfel yn erbyn Lloegr. Ei brif wrthwynebwyr oeddynt Iorwerth—yr hwn oedd yn hônni hawl i dywysog-

aeth Cymru drwy orchymyn y Pab a thrwy rodd ei dad, yn gystal fel brenin gwriogaethol ac fel etifedd ei nai Dafydd; a Roger Mortimer, yr hwn oedd yn arddelwi yn hawl ei ddisgyniad oddiwrth Llewelyn Fawr. Yr oedd Iorwerth, fel iarll Caerlleon, yn meddu llywyddiaeth y cyffiniau Saesonig oddiwrth enau yr afon Dyfrdwy hyd at Ludlow—ei brif ymlynwyr yng Nghymru oeddynt Gruffydd ap Gwenwynwyn, arglwydd Powys, a Rhys Fychan, arglwydd Buallt, (Builth,) yn y Deheubarth. Iorwerth a Llewelyn, tywysogion ieuainc braidd o'r un oedran, yn cael eu bywiogi gan yr un yni milwrol, ond mewn ys-tyriaethau eraill yn gymeriadau hollol groes i'w gilydd, oeddynt y pryd hyn am y tro cyntaf yn sefyll wyneb yn wyneb yn erbyn eu gilydd—a pharhaodd y gyd-ymgais am yr wyth-mlynedd-a'r-hugain dylynol, nes y bradychwyd yr olaf yn 1282. Gwelid yn fuan fod y rhagoriaeth mewn rhinweddau personol gystal ag mewn athrylith filwrol, ar ochr y tywysog Cymreig. Yr oedd creulondeb greddfol tueddfryd Iorwerth, yr hwn a amlygwyd drwy amrywiol weithredoedd, wedi ei wneuthur yn gâs neillduol yng ngolwg y Cymry. Yr oedd wedi gorchymyn yn gellweirus i'w ddylynwyr cyflogedig dorri ymaith glustiau a hollti trwyn bachgenyn diniwed a gyfarfyddodd yn ddamweiniol yn ystod yr heddwch diweddar, ar lânau yr Hafren. Y bachgenyn druan a gyflwynai ei hun ym mhobman i olwg ei gydwladwyr—ym mhlith pa rai, fel y gwelsom, yr oedd dynoethi cleddyf yn erbyn dynes, bachgenyn, neu wr diarf, yn cael ei ystyried fel gweithred na buasai neb yn dymuno bod yn euog o honi ond un o natur fawaidd. Yr oedd y digofaint a gynhyrfwyd ym mhlith y Cymry drwy yr olwg a gafwyd arno yn dyheu am gyfleusdra i arddangos ei hun. Hwy a ymgasglent wrth y miloedd at Ddraig Gôch Llewelyn. Mewn llai na phymthegnos yr oedd y pedair Cantref a holl Ogledd Cymru wedi eu clirio o bob gormeswr estronol. Cymerwyd Aberteifi oddiar y tywysog Iorwerth, a Maesyfed oddiar Mortimer. Yn hâf y flwyddyn ganlynol, cafodd Powys ei darostwng, ei chydgorffori â Gwynedd, a'i dosbarthu gan Llewelyn rhwng y cyfryw o'i swyddogion a'i ganlynwyr ag oeddynt fwyaf nodedig am eu ffyddlondeb i'r achos gwladyddol. Er mwyn gwared deheubarth Cymru rhag yr un dynged, anfonodd Harri luoedd grymus yno, y rhai mewn undeb â Rhys Fychan, a warchaëasant ar gastell

Dinefawr. Aeth Llewelyn ar ymdaith i symud y warchae, ac mewn brwydr waedlyd ac ystyfnig gorchfygodd yr unol fyddinoedd, gyda cholled o dair mil o laddedigion a llawer o garcharorion o urddas. Daeth y cyffiniau Saesonig y pryd hyn yn un olygfa resynus o gelanedd a thân fflamllyd; a Llewelyn yn myned ym mlaen yn araf o Gaerloyw i'r Amwythig heb i un ymgais gael ei gwneuthur er gwrthsefyll ei hynt. Y gwanwyn canlynol, o.c. 1257, wedi clywed cwyn fod Geoffrey de Langley, is-gadben Iorwerth, wedi ceisio dwyn i mewn y cyfreithiau gwriogaethol yn lle y rhai Brutanaidd mewn parth o Bowys, aeth Llewelyn ym mlaen wrth ben 60,000 o wyr at byrth Caerlleon; tra yr enciliai Iorwerth yn ol o'i flaen ef i Loegr. Pan yn dychwelyd yn ol gydag adgyfnerthion a gafodd gan ei ewythr, brenin y Rhufeiniaid, sefydlodd Iorwerth ei hun yn Rhyd-y-groes, ar lân yr Hafren, yn agos i Drefaldwyn. Yma y dydd canlynol ymosodwyd arno gan Llewelyn, pan groesodd y fyddin Gymreig yr afon drwy orthrech, yn dair o adranau. Ymosodwyd ar ganolbarth trefniant y fyddin Normanaidd gyda'r fath ffyrnigrwydd gan Llewelyn wrth ben gwarchodlu ei gorff, fel y rhoddodd i ffordd ym mhob cyfeiriad; ac ar ol gwrthwynebiad dewr chwalwyd hefyd ddwy asgell y fyddin—cymerodd ffoedigaeth gyffredinol le, ac yr oedd Iorwerth ei hun yn ddyledus am ei ddiangfa i gyflymder ei farch, yr hwn a'i dygodd yn ddyogel at gaerau amddiffynol castell Trefaldwyn. Oddi yno y marchogodd, fel y cyntaf i gyhoeddi ei ddymchweliad, at ei dad i Rydychain. Ar ol gwrando ei hanes, dywedai Harri,—"y cyfryw ydyw y wlad a roddais i chwi, nis gellir ei hennill ond yn unig drwy y cleddyf." Planodd y dymchweliad yn Nhrefaldwyn yspryd o eiddigedd a chasineb angeuol ym mynwes Iorwerth tuag at ei orchfygwr. Beth bynag yr oedd yr amgylchiad cyfyng yn galw am ddefnyddio rhyw fesurau yn ddioed. Gwysiodd Harri holl daiogion milwrol y goron yn y gogledd a chanolbarth Lloegr i'w gyfarfod ef ar yr 11eg o Awst, yng Nghaerlleon-ar-Dwy—a'r rhai oeddynt yn y gorllewin i gydymgyrchu o dan iarll Caerloyw, yng Nghaerodor. Cyfarfyddodd Llewelyn yr ymgyrch hwn yn ol y gyfundrefn arferol o fân ymladd, yr hon a ddymchwelasai y fath nifer o ymgyrchoedd arswydus o'r blaen. Teflid y pontydd i lawr ym mhobman, codid rhwystrau ar y ffyrdd, gwneid rhydiau yr afonydd yn anhydraidd, a thrwsglwydd-

id y bobl a'u holl eiddo symudol i wyllt-leoedd a phorfëydd mynyddoedd Eryri. Cyflenwid y fyddin Normanaidd ag ymborthion gan lynges y Pum Porthladd, (Cinque Ports.) A llynges arall yr hon oedd ym meddu adgyfnerthion o'r Iwerddon ar ei bwrdd a gyfarfyddwyd yn y culfor gan lu llyngesol y Cymry, a chymerwyd llawer o'r llongau a gyrwyd y lleill yn ol i Ddulyn. Gorchfygwyd Harri ei hun yn fuan wedi hyny yn Nyganwy, a ffodd yn chwidr gyda gweddillion drylliedig ei fyddin i Gaerlleon-ar-Dwy.

Cymerodd Llewelyn fantais ar ei lwyddiant i gynnyg heddwch i Harri, ar y telerau canlynol:—yn 1af, y byddai iddo ef barhau i dalu y deyrnged ddyledus oddiwrth Gymru er amddiffyniad cyffredinol yr Ynys, i Goron Llundain. Yn 2il, na byddai i un ymgais gael ei gwneuthur i osod y cyfreithiau gwriogaethol mewn grym ar y Cymry. Yn 3ydd, fod i'w benaduriaeth ef dros holl Gymru gael ei chydnabod. Ond gwrthodwyd y telerau. Modd bynag, cytunwyd ar i heddwch gymeryd lle am flwyddyn. Pan oedd yr amser agos i fyny, i'r dyben o adnewyddu yr heddwch, anfonodd Iorwerth ei brwyadur, sef Patrick de Canton, i gylafareddu â Dafydd a chennadwyr Llewelyn, yng Nghastell newydd Emlyn. Ond gwnaed cynllwyn bradwrus ar y ffordd yn erbyn Dafydd a'r cennadwyr gan De Canton, a lladdwyd llawer o honynt. Beth bynag torodd Dafydd ei ffordd drwyddynt, a chan godi y wlad i fyny, efe a roddodd De Canton a'i ganlynwyr i farwolaeth. Gwedi ail ddechreu rhyfela, gosodwyd Cymru fel arferol o dan waharddiad, ac esgymunwyd Llewelyn a'i holl ddeiliaid gan y Pab. Yr unig ateb y bu yn wiw gan y tywysog Cymreig roddi yng ngwyneb hyny oedd gwneuthur rhuthr ar y cyffiniau, yr hwn a ddiweddodd yn nistrywiad castell Maelienydd. Wrth geisio gwared ei gaerfa, amgauwyd Syr Roger Mortimer yn ei hadfeilion. Gan anfon at ei gâr, efe a ddymunodd cael caniatad i adael ei safle. Yna Llewelyn gan ffurfio ei fyddin yn ddwy adran a ganiataodd iddo encilio ymaith rhyngddynt heb ei aflonyddu gyda'i holl ganlynwyr i Henffordd. Unwyd ardalyddiaeth Brycheiniog yr un flwyddyn â Gwynedd. Yn ystod y pedair blynedd dylynol, cymerwyd a dinystriwyd castelli y Wyddgrug, Diserth, a Dyganwy, y gweddill o'r caerfëydd Normanaidd yng Ngogledd Cymru. Yn o.c. 1263, gwnaed cyngrhair ymosodol

ac amddiffynol rhwng Llewelyn a Simon de Monfort, iarll mawr Caer Llyr, a sylfaenydd y Gwerinlys, (*House of Commons*) Saesonig—pan ddyweddïodd yr iarll ei ferch Eleanor, nith Harri III, a chyfnither Iorwerth, i Llewelyn. Gorchfygwyd Harri ac Iorwerth y flwyddyn ganlynol yn Lewes, a chymerwyd y ddau yn garcharorion gan Leicester, yr hwn wedi hyny a ymunodd â Llewelyn, ac a sefydlodd ei wersyll gerllaw iddo yn Ludlow. Yma y derbyniasant ymddarostyngiad arglwyddi y cyffiniau, y rhai a roddasant i fyny eu hetifeddiaethau a'u castelli i'w dwylaw. Y rhyfel yma, wedi parhau mewn ffyrnigrwydd am un-mlynedd-a'r-hugain, a derfynwyd yn y diwedd drwy heddwch Trefaldwyn, yn 1267, yn ol telerau pa un y cydnabyddwyd yn gyflawn benaduriaeth annibynol Llewelyn dros holl Gymru—y bwriwyd ymaith holl hawliau y goron Normanaidd i hònni ffyddlondeb oddiwrth unrhyw bendefig Cymreig, a hawl-hòniadau Iorwerth i unrhyw diriogaethau neu urddenw yn y Dywysogaeth a roddwyd i fyny yn rheolaidd. Cadarnhawyd y cytundeb gan y brenin yn bersonol, a thystiwyd ef gan Ottoboni, cennadwr y Pab.

Nid oes dim yn dylanwadu ein meddwl yn fwy bywiog ag ystyriaeth o hunan-ymddibyniad anorchfygol Cymry yr oes hon na bod y rhyfeloedd anrheithiedig hyn yn erbyn yr hiliogaeth Normanaidd y rhai a ystyrid fel penaethiaid mwyaf gwroniaeth Ewrop, wedi cael eu dwyn ym mlaen ganddynt heb un help oddiwrth eraill gartref nac oddicartref, ac heb un hatling yn eu trysorlys. Yr oeddynt yn teilyngu yn gyfiawn y cyfenwad a roddwyd iddynt mor rhwydd gan eu gwrthwynebwyr, sef, "y rhai dewraf o ddynolryw." Mae yr ymdrech hir a wnaethant er cadw eu rhyddfreiniau, heb un cynnorthwy dynol ond eu brawdoliaeth unigol eu hunain mewn arfau i'w cefnogi—heb un taledigaeth arall ond cân rydd y Bardd i'w gwobrwyo, yn cyflwyno testyn o efrydiaeth i'n meddwl na cheir mo'i gyffelyb o ran diysgogrwydd a boneddigeiddrwydd egwyddor yn hanesion y byd—ond yn tra rhagori ar unrhyw beth a geir yn hanesiaeth y Groegiaid neu y Rhufeiniaid. Nid llai hynod ychwaith yw yr ystyfnigrwydd gyda pha un, drwy eu holl ddymchweliadau mwyaf cymylog, y coleddent y grediniaeth fod gorsedd Prydain er hyny wedi ei harfaethu i gael ei hadferu i'w llinach hwy; byddai y grêd hon, a elwid gan eu beirdd "y llusern mewn tywyllwch,"

yn eu nerthu âg ýni newydd i bob ymrafael, ac ni phallodd erioed eu had-gynnull ar y maes o amgylch Draig Gôch pob penaeth a gyflwynai ei hun iddynt fel Arthur eu hymerodraeth ddyfodol.

"Y'nghoed, ym maes, ym mryn,
Canhwyll yn nhywyll a gerdd genym." GOLYDDAN.

Nis gallwn lai na mawrygu'n barchus genedl o bobl y rhai nid allai unrhyw anffawd eu difoesoli—ym mha rai heb feddu dim ond eu calonau gwrol eu hunain i roddi ymddiried ynddo, y cafwyd yspryd digon nerthol i wirioneddoli yn y diwedd eu daroganau ardderchocaf.

O'r flwyddyn 1267, hyd farwolaeth Harri, yn 1273, ni ddygwyddodd dim i atal y berthynas heddychlawn rhwng y ddwy wlad. Yn ystod yr amser hwn yr oedd Iorwerth yn gwasanaethu yn Rhyfel y Groes. Ond ar ei ddyfodiad i'r orsedd, codwyd gwleidiadaeth ryfelgar yn ddioed yn erbyn Cymru. Dirymwyd gytundeb heddwch Trefaldwyn, a gwysiwyd Llewelyn ynghyda duc Llydaw, a brenin yr Alban, i dalu gwarogaeth am eu tiriogaethau ym mynachlog Westminster. "Efe a omeddodd wneuthur hyny yn bendant," medd yr haneswyr Saesonig; a chyhuddodd Iorwerth o anffyddlondeb arferol a diystyrwch o gytundebau, gan ei adgofio ef am y dynged a oddiweddodd Gruffydd ei dad, drwy ymddiried ei hun i anrhydedd penadur Normanaidd. Rhoddwyd allan bump o wysiadau olynol gan Iorwerth gyda'r un cyffelyb ganlyniad aflwyddianus. Ond, beth bynag, effeithiodd cariad i ddwyn oddi amgylch yr hyn nis gallodd arfau na bygythion erioed ei gyflawni.

Yr oedd Eleanor de Montford, dyweddi Llewelyn, yr hon oedd yn awr yn ei hugeinfed mlwydd oed, wedi derbyn ei dysg yng ngwyryfdy Montargis, yn Ffrainc, ac yn byw mewn gorwychder mawr gyda'i mham yn llŷs Ffrainc. Gan fod y tywysog Cymreig am ei chael yn wraig iddo, gwnaed darpariadau gan frenin Ffrainc ar gyfer ei mordaith i Gaernarfon. Ond Iorwerth, gan ddarparu pedair llong yng Nghaerodor, a lwyddodd i'w dal ar ei mordaith, gyferbyn ag ynysoedd Scilly, a chyda gradd o faweidd-dra a ddysgwylid ei gael yn hytrach mewn môrleidr nag mewn brenin Cristionogol, trosglwyddodd hi a'i brawd Amaury, offeiriad, yn garcharorion, i Lundain. Ar ol llawer o flynyddoedd o garchariad, rhyddhawyd Amaury, ond yn unig

ar yr amod na ddeuai byth drachefn i Loegr. Yr oedd Eleanor mewn cysylltiad cyfeillachol â'r frenines. Gwyddai Iorwerth ei fod yn awr yn dal yn ei law galon ei gydymgeisydd uchelfryd, yr hwn oedd yn glâf o gariad, a gwasgodd y fantais hono arno mor ddigywilydd ag y daethai i feddiant o honi. Ar ol amrywiol argeisiadau yn ddylynol i'w waith yn crynhoi ei luoedd ar làn y Menai, gwnaed heddwch ag oedd dan yr amgylchiadau yn fwy gwaradwyddus iddo ef ei hun nag ydoedd i'r gelyn ar ba un y dirgymellid hyny. Yn ad-daliad am gael dyfod i feddiant o wrthrych ei serchiadau, cydsyniodd Llewelyn i dalu gwarogaeth dros y Dywysogaeth, yn Llundain. Ymblygwyd i'r ddefod ddarostyngol, ac ar ol ychydig oediad gweinyddwyd priodas Llewelyn ac Eleanor gyda gorwychder mawr, ym mhresenoldeb yr holl lŷs breninol, yng Nghaer Gorangon, Hydref 13eg, 1278. Gwnaeth Iorwerth hyd yn oed ar fin y briodas i Llewelyn addaw na byddai iddo o hyny allan achlesu un deiliad yr hwn a allai ddigwydd tynu arno ei hun anfoddlonrwydd coron Lloegr.

Dros y ddwy flynedd a ddylynodd, anghofiodd Llewelyn ei ddarostyngiad diweddar a'i enwogrwydd blaenorol, ym mynwes harddwch a dedwyddwch priodasol. Ganed iddo ddwy ferch o Eleanor—sef, Catherine, o'r hon y disgynodd y Tuduriaid a'r Glynduriaid; a Gwenllian, yr hon a aeth yn lleian yng ngwyryfdy Sepringham. Ganed iddo fab hefyd o riain arall, sef Madoc. Gwasgarodd marwolaeth Eleanor ar anedigaeth Gwenllian, yn 1280, y swyn-gariad dan ddylanwad yr hwn y delid y Tywysog Cymreig. Rhag-dybiodd Iorwerth y canlyniadau o hyny. Gan wybod drwy hir brawf fod y grediniaeth yn nychweliad Arthur fel eu Messia gwladwriaethol yn cyfansoddi rhwystr anorfod i oresgyniad na gwlad na meddwl y Cymry, efe a symudodd y llŷs a'r senedd i Ynys Afallon. Yng nglwysdy y fonachlog fawr y "dyfeisiodd" Harri II a'i gynghor, feddrod y gwron Brutanaidd a'i frenines Gwenhwyfan. Y corff, a osodid allan fel yr eiddo Arthur, oedd ysgerbwd cawraidd, o wyth i naw troedfedd o daldra—y cyfwng rhwng yr aeliau yn mesur lled llaw, a'r penglog yn wrymiau gan greithiau deg o archollion mawrion. Yr oedd wedi ei ddodi, yn amwisgiedig mewn brethyn euraidd, gan Harri, mewn maenarch gain o farmor; pan y goddefid i'r pen ar achlysuron arbenig gael ei weled drwy gistan wydr "er

cael ei fawrygu gan y bobl." Agorwyd y faenarch ym mhresenoldeb y brenin a'r frenines, yr esgobion, y clerigwyr, y barwniaid, a thyrfa fawr o'r werin, a dangoswyd y ddelw gawraidd er syndod i'r edrychwyr. Gwysiwyd Llewelyn a'i benaethiaid i Ynys Afallon i dalu gwarogaeth eilwaith, ac i weled â'u golygon eu hunain fod Arthur wedi marw mewn gwirionedd, ac wedi ei gladdu. Ni dderbyniodd y "Britannicus furor"—yr ysprydoliad Brutanaidd, fel y gelwid ef gan yr ysgrifenwyr Ffrancaidd—canys nid oedd y grediniaeth yn y milflwyddiant Arthuraidd mewn un modd yn gyfyngedig i Gymru, yr oedd i raddau mwy neu lai yn treiddio Prydain,—ni dderbyniodd, meddaf, ond cadarnhâd yn unig drwy ddichell ag oedd mor eglur wedi ei dyfeisio. Llewelyn, mewn atebiad, a ddiarddelwodd bob gwarogaeth i Iorwerth, a chyfeiriodd at yr effeithiau milwraidd a wnaed ar y Cymry am y fath gynifer o oesau gan y dybiaeth Arthuraidd, fel y prawf goreu o'i gwirionedd. Yr oedd darpariadau Iorwerth gogyfer â'r rhyfel yn helaethach nag y buont erioed. Pleid-leisiodd clerigwyr yr eglwys Rufeinig, y rhai a fyddent bob amser yn danbaid elynol i ryddid a sefydliadau Brutanaidd, ar roddi iddo yr ugeinfed ran o'u heiddo tymorol—y pendefigion a'r esgobion, y bymthegfed ran, ac wedi hyny y ddegfed-ran-a'r-hugain o'u heiddo symudol. Rhoddwyd benthygion iddo gan y prif drefydd; a chyflenwyd ef ag arian a thrysor o'r Alban, Iwerddon, Gwasgwyn, a thaleithiau Basque. Gorchymynwyd i farwniaid y trysorlys a barnwyr y penadur-lys (*King's Bench*) gynal eu cwrtiau yn yr Amwythig. Gwysiwyd holl ddeiliaid milwraidd y goron i ymgynull yn Rhuddlan, yr hwn le a warchaeid eisoes gan Llewelyn. Yno hefyd y cyfarwyddwyd esgobion Lloegr a'r pedwar abad-a'r-hugain a ddalient eu lleoedd dan y goron, i anfon eu cyfranau. Gorchymynwyd llynges y Pum Porthladd i arlanio llu yn ynys Môn. Gorchymynwyd ar i ddeugain mil o offerynau, o gôrau saltringaidd, a gorymdeithiau cysegredig gael eu gweinyddu yn yr holl eglwysi plwyfol a chadeiriol am lwydd ar yr arfau Normanaidd. Ni adawyd heibio ar yr achos hwn y ddyfais grefyddol a roddid mewn grym agos yn wastad yn erbyn y Cymry gan y llysoedd Normanaidd a Rhufeinig mewn cyngrhair â'u gilydd. Esgymunwyd Llewelyn, a gosodwyd Cymru dan wahardd-ddeddf gan gennad ufuddgar y Pab, sef Peckham, arches-

gob Caer Gaint, arnogesydd Iorwerth. "Nis gallwn ymladd am ein rhyddfreiniau," crochlefai Llewelyn wrth ei fyddin, "na fygythir ein heneidiau yn ddioed â cholledigaeth; nis gallwn wrthwynebu gorthrymwyr tymorol na ddywedir wrthym y rhaid i hyny fod er colled ein iechydwriaeth dragwyddol. Gwell yw i ni, drwy farwolaeth arwraidd ar faes y gâd, esgyn ar unwaith at Dduw a'n tadau, na byw ar y ddaear yma yn gaethion i unrhyw allu dynol."

Yr oedd castell Penarlag eisoes wedi ei gymeryd drwy ruthr, y gwarchlu wedi eu lladd â'r cleddyf, a De Clifford, y llywodraethwr, wedi ei gymeryd yn garcharor gan Ddafydd, brawd Llewelyn, ar Sul y Blodau, yn 1282. Ymsymudodd y lluoedd Normanaidd, y rhai oeddynt 120,000 o wyr mewn nifer, tuag Estyn neu gastell Caergwrle, yr hwn a ymddarostyngodd iddynt ar eu dynesiad. Llewelyn gan roddi fyny warchäedigaeth Rhuddlan, a enciliodd yn ol gyda'i luoedd, y rhai mewn cymhariaeth oeddynt ychydig o nifer, eithr yn hen mewn profiad, tua'r Eryri. Safodd ar lànau y Conwy, a chynnygiodd ymladdfa i'r flaenfyddin Normanaidd, yr hon dan lyw Iorwerth yn bersonol, a wasgai ar ei enciliad. Derbyniwyd y cynnygiad. Ond gorchfygwyd Iorwerth gyda cholled am bedair-baner-a'r-ddeg, gan adael arglwyddi Audley, Clifford, De Argenton, a llawer o uch-swyddogion eraill yn feirwon ar y maes. Enciliodd Iorwerth i gastell Caergwrle ym mha le yr arhosodd hyd Gorphenaf, gan ddysgwyl am luoedd o fyddingloddwyr o'r swyddi cyffiniol. Yn y cyfamser dygwyd ymlaen ymdrafodaeth rhwng yr archesgob Peckham a Llewelyn. Mae yr uchafiaeth ym mhob ystyr—o barth rheswm, cyfiawnder, moesgarwch, ac hyd yn oed ar y pwnc llenyddol o burdeb cyfansoddiad Llatinaidd, tu hwnt i fesur ar ochr y Tywysog. Peckham ym mhlith cwynion eraill, a gyhuddai y Cymry o fod yn greulonach na Saraceniaid—"derbynia y Saraceniaid bridwerth," ebe ef, "ond ni dderbynia y Cymry ddim ond gwaed eu gelynion;" gan ychwanegu, "ni fŷn esgobaeth Rhufain mewn un modd weled llywodraeth Lloegr, yr hon sydd dan ei nodded hi, yn cael cam." I'r hyn yr atebai Llewelyn, "nyni a wyddom fod llywodraeth Lloegr dan amddiffyniad neillduol y Pab, ac yn cael ei pharchu ganddo ef gyda phleidgarwch hynod; eto, pan wneir ei harglwydd, y Pab, yn hysbys mewn gwirionedd o'r camweddau a gyflawnodd hi yn ein herbyn ni, yr ydym

yn dra hyderus y bydd iddo gydymdeimlo, yn hytrach na chondemnio ein gwaith yn rhedeg dan arfau. Yr ydym yn byw yn ein gwlad ein hunain—gwlad ein tadau, lle nid oes gan un genedl ond y Cymry na hawl nac etifeddiaeth. Ond y mae y Saeson yn awr, megys yn yr oesau gynt, yn parhau yn eu hymgeisiadau i'n goresgyn a'n gorthrymu. Nid oes un cytundeb a'u rhwyma; llosgir i lawr ein heglwysi ganddynt, llofruddiant ein heglwyswyr pan wrth yr allor; ein merched, ïe, babanod ar fron y fam, a gigyddir ganddynt. Ni arbedant nac oedran, rhyw, na chysegredigrwydd lle na sefyllfa—eithr dangosant greulondeb barbaraidd ac annhosturiol na fu y Cymry erioed yn euog o hono. O barth eu cyhuddiadau, ni fydd i'r gelynion a ddymunant ein llwyr ddinystrio â'r cleddyf, fyth betruso ein enllibio â'u tafodau. Maent hwy bob amser yn bresenol ac o'ch hamgylch. Yr ydym ni yn absenol, ond erfyniwn arnoch, dad santaidd, beidio a chredu eu geiriau hyd nes y byddoch wedi archwilio eu gweithredoedd." Yn y diwedd gwnaed y cynnygion dirgelaidd canlynol i Llewelyn a Dafydd gan yr archesgob a barwniaid Lloegr.

1. Os bydd i'r Tywysog Llewelyn roddi y brenin mewn meddiant llonydd o'r Eryri, bydd i farwniaid Lloegr sicrhau iddo ef a'i etifeddion gwrrywaidd —os digwydd fod ganddo rai ar ol hyn, feddiant o sir yn Lloegr ynghyda £1000 yn flwydd-dal oddiwrth y goron yn barhaus. Hefyd, mae y Brenin yn ymrwymo i ddarparu ar gyfer merched Llewelyn fel am yr eiddo ei hun ac eraill o'i ganlynwyr, yn ol eu gradd a'u sefyllfa.

2. Os bydd i'r Tywysog Dafydd ymgymeryd â rhyfel y groes, ac ymrwymo i beidio dychwelyd byth i Loegr, oddieithr drwy gydsyniad y Brenin, darperir erddo yntau hefyd a'i blant mewn modd teilwng o'u gwaedogaeth a'u gradd

Nid oedd gan Llewelyn unrhyw ddirgelion ynghadw oddiwrth ei ddeiliaid. Gan ddanfon yn ol ei atebiad ei hun yn y geiriau "mai ei gydwybod ei hun yn unig, fel gwarcheidwad iawnderau ei genedl, gaffai ddangos iddo ef pa gwrs a gymerai, ac na dderbyniai unrhyw gynnygiad a fyddai yn waradwydd i urddas yr orsedd Gymreig," gosododd y cynnygion ger bron ei gynghor. Yr oedd Iorwerth wedi dweyd mewn bryslythyr, drwy yr archesgob, na byddai iddo ef wrandaw ar unrhyw delerau heddwch os na byddent yn rhoddi iddo ef feddiant o'r pedair Cantref rhwng afonydd Dyfrdwy a Chonwy.

Ar yr holl byngciau hyn penderfynodd y cynghor Cymreig yn Aber fel y canlyn—

1. Mae y pedair Cantref wedi bod er amser Brutus yn rhan o etifeddiaeth deuluol Tywysogion y Cymry. Dywed Iorwerth na fyn efe unrhyw heddwch os na throsglwyddir hwynt i'w feddiant ef. Ond, yn y gwrthwyneb i hyny, ni bydd i ni gydnabod unrhyw heddwch a wneir ar y fath delerau. Nid ymostynga y Cymry fyth i edrych ar eu tywysogion yn cael eu hymddifadu o'u hetifeddiaeth henafol.

2. Mae holl ddeiliaid yr holl Gantrefau ag sydd yng Nghymru yn datgan na fydd iddynt nac ymddarostwng i'r Brenin Iorwerth na gwneuthur ei ddymuniad, pan yr ydym yn gweled na ddarfu iddo ef o'r dechreu na chadw llw, cyfamod, na breinlen. Deiliaid ydynt i Dywysog y Cymry yn unig.

3. Ni bydd i ni o herwydd y rhesymau uchod oddef i'n Tywysog ymddiried ei hun yn nwylaw y Brenin Iorwerth.

4. Ni bydd i ni dderbyn unrhyw gynnygiadau o ddarbodaeth neu arian gan farwniaid Lloegr—gan weled o honom fod hyny yn deilliaw oddiwrth bleidiau a ddietifeddent ein Tywysog.

5. O barth rhoddi i fyny feddiant tawel o'r Eryri, mae'r Eryri ym mhob oes wedi bod yn rhan gyfan berthynol i Gymru, ac i arglwyddiaeth ei Thywysogion. Ni ddyry y Tywysog hi fyth i fyny. Ië, pe dymunai wneuthur hyny, ni oddefai y cynghor iddo. A dywed gwyr yr Eryri hefyd na oddefent hwy iddo, ac na thalent hwy fyth warogaeth i estroniaid na wyddant ddim am eu hiaith, eu cyfreithiau, na'u defodau.

6. Pa bryd bynag yr ymgymera y Tywysog Dafydd â rhyfel y groes, efe a wna hyny mewn modd ewyllysgar, canys y mae Duw yn ffieiddio gwasanaeth gorfodol; a phan y gwna felly, efe a edrycha am i'w blant gael eu bendithio gan Dduw am hyny, ac nid eu dihawlu o'u hetifeddiaeth.

Mae yma rywbeth neillduol o effeithiol yng ngwroldeb yr atebiad uniongyrchol a diaddurn hwn o eiddo gweddill cenedl fawr, wedi eu cau i fyny mewn un noddfa fynyddig, heb un ymblaid gyngrheiriol iddynt o fewn y byd; dim ond yr eigion diderfyn ganddynt i encilio yn ol arno o'r tu cefn, mewn cyferbyniad â gwŷs ar iddynt ymostwng yn cael ei roddi gan frenin ag oedd yn llywio lluoedd unedig Lloegr, hanner Ffrainc, Iwerddon, a'r Alban. Nid yw gwresogrwydd eu ffyddlondeb i'w tywysogion brodorol i'w gyfartalu ond yn unig â'r cydymddiried a roddid yn eu cariad a'u purdeb hwythau. Hwy oeddynt y pryd hwn, ac wedi bod felly am ganrifoedd, yr unig ddeiliaid rhyddion o eiddo penadur rhydd yn Ewrop. Y lluoedd gwrthwynebol oeddynt gaethweision milwraidd—fel rhai Rwsia yn awr—yn cael eu blaenori a'u meddianu gan bendefigaeth wriogaethol. Cyhyd ag y cadwodd Cymru ei rhyddid, yr oedd ei Draig Gôch ar ben yr Eryri yn alwad ac yn galonogiad i bob gwladwriaeth orthrymedig i gyfodi yn erbyn y farwniaeth lurygol ag oedd yn eu malurio i'r llwch. Gan hyny, yr oedd y faner yng ngwyneb pob colled, er i'w dyblygion fod yn sicr o gael eu gwlychu â gwaed calon cenedl, i gael ei chymeryd, a'r rhyddid a arwyddai gael ei ddydd ym ...

Ar dderbyniad penderfyniadau y cynghor Cymreig, yr archesgob mewn ffurf ddyladwy a daranodd allan anathema yr eglwys Rufeinig, gan gyhoeddi yr holl genedl Gymreig yn felldigedig, a gosod yr esgymundod mwyaf ar ben ei Thywysog.

Iorwerth gan ymsymud drachefn o Ruddlan, yr hwn le yr oedd efe wedi ei ail-gadarnhau, a ffurfiodd res o orsafoedd arfogol o amgylch gwaelodion dwyreiniol yr Eryri. Yr oedd Ynys Fon erbyn hyn ym meddiant y lluoedd a lâniwyd gan lynges y Pum Porthladd. Beth bynag, yr oedd y gauaf yn agos, a gwyddai Iorwerth oni fyddai i ddyrnod terfynol gael ei daro yn ddioed, fod palliant yr ymgyrch fel yr eiddo llawer a fuont o'i flaen yn anocheladwy. I'r dyben gan hyny, o ffurfio undeb rhwng ei ddwy fyddin, aeth ymlaen i daflu pont o gychod dros yr afon, yn ddigon llydan i dri-ugain o wyr ymdeithio arni yn ystlysau eu gilydd, o Foel-y-dòn—sef, y pwynt ar lân Ynys Fôn, lle mae y cyfyngfor gulaf, i ochr Caernarfon. Llewelyn, i wylio y fynedfa, a gododd warchgloddiau gyferbyn â'r bont, gan sefydlu Risiart ap Walwyn ynddynt ynghyda chorff dewisedig o wyr yr Eryri. Yn amser y gorlanw aeth y Saeson, gan gael eu blaenori gan y milwyr cyflogedig tramor dros y bont ac iawn-drefnasant eu hunain ar gyffiniau Bangor. Cyn gynted ag y torodd y trai y cymundeb rhyngddynt â'r bont, gwnaed rhuthr arnynt gan Llewelyn, a hyrddiwyd hwy gyda lladdfa fawr i mewn i gulfôr Menai, pan y cwympodd Lucas de Taney, a phymtheg o farchogion, ynghyda lluaws o filwyr cyffredin, yn farwol ar y fan.

Ni adawodd yr ail orchfygiad hwn un dewisiad i Iorwerth ond encilio yn ol oddiwrth yr amddiffynfa anorchfygol hon ag oedd mor aml wedi profi yn ddistryw i ormeswyr Cymru. Yr oedd ei golledion cyn iddo adennill Rhuddlan wedi degymu ei fyddin. I godi gwyr yn eu lle, rhoddwyd allan gyhoeddeb anarferol yn gwysio—"o herwydd ein bod drwy gynghor ein barwniaid, a holl wladwriaeth Lloegr, wedi penderfynu gorchfygu ein gelyn, sef Llewelyn mab Gruffydd,—yr hyn sydd yn ymgymeriaeth orfawr ac yn anturiaeth dra anhawdd"—pob tirfeddianydd o werth ugain punt yn y flwyddyn neu uwchlaw hyny, i ddyfod i'r maes. Pobl y Gogledd i gyfarfod ar yr 20ed o Ionawr, yng Nghaerefrawg, a rhai y Deheubarth yn Northampton.

Gan yr ystyriai Llewelyn fod Gogledd Cymru y pryd hyn yn ddyogel hyd y gwanwyn canlynol, gadawodd yr Eryri dan lywyddiaeth Dafydd, ac aeth ar ei ymdaith angeuol i Ddeheubarth Cymru i wrthwynebu y fyddin Saesonig ag oedd dan Iarll Caerloyw a Syr Edmund Mortimer. Pan glywodd Iorwerth am y symudiad hwn, gorchymynodd i Oliver de Dinham a barwniaid eraill y gorllewin groesi yr Hafren gyda phob brys a chynorthwyo yr Iarll.

Yr oedd swydd Aberteifi yn fuan wedi ei goresgyn, a gwlad gadarn Ystrad Towy ym meddiant y Tywysog. Ar hyn cynnygiodd Rhys Fychan ac arglwyddi eraill Buallt a'i chymydogaeth eu hymostyngiad, gan ddeisyf ei weled, ac addaw ymuno ag ef gyda'u holl ymlynwyr. Penododd Llewelyn ddyffryn yn agos i Bont Orewyn, ar yr afon Gwy, i gynnal y gynadledd. Trosglwyddwyd hysbysrwydd yn ddioed gan y bradychwyr i Mortimer a Gifford am y drefn a luniwyd. Aeth Llewelyn gyda'i ysgrifenydd i'r dyffryn, gan adael ei luoedd i amddiffyn y bont yn erbyn unrhyw ymdrech ar ran Mortimer i'w chymeryd. Ei fynediad ymaith ydoedd yr arwydd i'r Normaniaid wneyd rhuthriad ffrochwyllt ar y sefyllfa. Marchogodd rhyw yswain ymaith yn ddioed at y Tywysog, gan erfyn arno ddychwelyd yn ol." "Nid oes un anghenrheidrwydd am hyny," atebai yntau, gan wrandaw am funyd ar dwrdd yr ymladdfa, "y mae acw wyr a amddiffynant eu sefyllfa eu hunain yn erbyn holl fyddinoedd Lloegr." Cilgwthiwyd Mortimer; ond gan i Elias Walwyn, un o ganlynwyr Rhys, gynnyg arwain Gifford drwy rŷd i'r maes pennodol lle dysgwiliai Llewelyn am ddyfodiad yr arglwyddi bradwrus, adnewyddwyd y rhuthriad gyda ffyrnigrwydd bywiog. Croesodd Gifford yr afon mewn distawrwydd, a than gysgod y coedlwyn cyfryngol, rhuthrodd i lawr i'r fan lle yr oedd Llewelyn yn anarfog yn ymddiddan â'i ysgrifenydd. Nis gellir ond dychymygu drwy ba law neillduol y cwympodd y Tywysog—Adam de Francton a hawliodd ddianrhydedd y weithred lofruddiol. Mynach perthynol i fynachlog gymydogaethol, (presenoldeb prydlawn yr hwn ymhlith y rhengau Normanaidd nis gellir ei egluro ond yn unig ar y dybiaeth fod y bradwyr wedi derbyn gorchymyn o'r swyddfa uchaf i beidio ymatal nes lladd eu haberth,) a weinyddodd iddo ddefodau diweddaf crefydd, ac a dderbyniodd ei anadl ymadawol. Yna torwyd ymaith ei ben, ac anfonwyd ef yn

ghyda'r holl bapurau a gafwyd o gylch ei gorph i Iorwerth ym mynachlys Conwy. Efe a'i derbyniodd gyda gorfoledd creulawn, gweddus i'r moddion drwy ba un y cyflawnid cwymp ei gydymgeisydd, yr hwn oedd bob amser wedi bod yn orchfygwr iddo ar faes y gwaed. Trosglwyddwyd pen y gwron gwladgarol i Lundain, ac wedi ei arddangos drwy yr heolydd i lygadrythiad y gwerinos banllefol, gosodwyd ef, wedi ei amgylchu mewn gwawd â choron arian, ar ben pigwn uchaf y Tŵr hwnw lle y bu ei hynafiaid am bymtheg cant o flynyddoedd yn llywio teyrnwialen Prydain—a lle yr oedd ei hiliogaeth Tuduraidd ymhen llai na dau càn mlynedd wedi eu rhagarfaethu i'w llywio drachefn.

Fel hyn y bu farw, Rhag. 22ain, 1282, yn yr wythfed a deugain mlwydd o'i oedran, yng ngeiriau y dysgedig Selden, "Tywysog mor fawr a theilwng ag y llywodraethwyd y drydedd ran o'r Ynys hon erioed ganddo."

Byddin Iorwerth, wedi ei hadgyfnerthu gan y gwyr a godwyd yng Nghaerefrawg a Northampton, a symudodd ymlaen yn awr, ac amgylchynodd yr Eryri yn llwyr ar dair ochr. Gorphenodd Iarll Penfro y llinell filwraidd ar y deheu gyda rhan o luoedd Mortimer. Drwy farwolaeth Llewelyn gadawyd y Cymry heb un penaeth—gan fod Dafydd ei frawd drwy fynych fradwriaethau wedi colli yn hir cyn hyny bob hawl i'w hymddiried. Gwarchaewyd Bere neu gastell Dolbadarn, i'r hwn yr aethai er dyogelwch, ac yn fuan ar ol cymeriad y castell rhoddwyd Dafydd ei hun, ynghyda'i wraig, ei ddau fab a'i saith merch, i fyny i Iorwerth. Profwyd ef gan gwrt o farwniaid, dan lywyddiaeth bersonol Iorwerth, yn yr Amwythig, a dedfrydwyd a dihenyddiwyd ef dan amgylchiadau o greulondeb, y rhai y mae son am danynt yn ddigon i ddychrynu dynoliaeth. Wedi ei lusgo ar glwyden wrth gynffon ceffyl, hanner grogwyd ef, yna torwyd ef i lawr, a thra yr ydoedd eto yn deimladwy, tynwyd ei berfedd allan, a llosgwyd ei goluddion—yna chwarthorwyd ei gorff, ac anfonwyd y chwarthorau i Gaerefrawg, Caerodor, Northampton, a Chaerwynt. Gosodwyd ei ben yn agos i'r eiddo Llewelyn ar binagl y Tŵr, yn Llundain. Yn y ddedryd yma ac yn yr hon a ddyoddefodd Gwilym Wallace, ymddengys creulondeb naturiol tueddfryd Iorwerth heb arno un nodwedd gweledig o dirionwch na mawrfrydigrwydd. Yn yr un flwyddyn dechreuwyd adeiladu Castelli Iorwerth, gweddillion pa rai sydd yn

ffurfio un o'r gweddnodau mwyaf hynod yn arolygfa y Dywysogaeth. Yn y rhai hyn yr oedd y gyfundrefn gastellog o adeiladaeth wedi cyrhaedd ei huchradd o berffeithrwydd. Gall castelli Caernarfon, Conwy, Harlech a Chaerffili, o ran yr undeb a welir ynddynt o braffder cadarn, gyda chymesuredd hardd, roddi beiddiad yn ddyogel i unrhyw gystadleuaeth oddiwrth adeiladau cyffelyb yn yr holl fyd. Modd bynag, fel y gyfundrefn flaenorol o eiddo arglwyddi y cyffiniau, methasant yn llwyr ag ateb y dybenion gorfodol y bwriadwyd hwynt i'w cyflawni.

Yn 1284, cyhoeddwyd deddf Rhuddlan gan Iorwerth, gyda'r amcan i'r deddf-lyfrau Saesonig gymeryd lle yr hên gyfreithiau Brutanaidd. Atafaelwyd amryw etifeddiaethau, a rhanwyd hwy rhwng y pendefigion Normanaidd—Rhuthyn, er engraifft, i Rheinallt de Grey. Rhoddwyd Dinbych yn ol hawl ei hynafes Gwenlliain, i Harri de Lacy, Iarll Caerlwytcoed. Yr holl ysgrifau gwladol a henafol, y rhai oeddynt ym maethu balchineb a gwrolfryd y Cymry, a gasglwyd ynghyd, a drosglwyddwyd i'r Tŵr ac a ddistrywiwyd. Ym mhen ychydig o flynyddoedd wed'yn dangoswyd yr un wladlywiaeth greulon tuag at yr Alban. Ymlidiwyd oraclau bywiol rhyddid, sef y Beirdd, ym mhobman fel yr ymlidid eu hynafiaid gan y Rhufeiniaid, a rhoddwyd hwynt heb un ffurf o gyfraith, i farwolaeth. Cyfeiria traddodiad at gwrt castell Beaumaris fel y fan lle cafodd dros gant o'r Beirdd gwladgarol hyn eu llofruddio fel yma o flaen llygaid yr Attila Normanaidd ei hun.

Ni wnaeth y mesurau hyn ond peri i gasineb y Cymry wreiddio yn ddyfnach yn erbyn y cynghorwyr a'r cyflawnwyr o honynt. Pa le bynag y ceisid darllen deddf Rhuddlan, elai y bobl ymaith, a gadewid y lle i'r rhingyllau breninol. Yn y ffug-frwydr fawr a gynhaliwyd gan Iorwerth, yn Nefyn, er coffadwriaeth am Arthur, ac yn yr hon yr oedd y rhan fwyaf o wroniaid Ewrop, yn cynnwys llawer o'r penaethiaid Cymreig, yn bresenol, nid oedd yno ond ychydig iawn o'r werin bobl. Yn ofer y rhoddai y Normaniad fynych gyhoeddebau allan i holl drigolion y Dywysogaeth y derbyniai efe hwynt dan ei nawdd uniongyrchol ei hun fel deiliaid y goron, gan roddi iddynt ar yr un pryd sicrwydd o gael mwynhau eu hetifeddiaethau, eu rhyddid, a'u hiawnderau, ar yr un amodau ag y buont yn eu dal hyd yma o dan eu Tywysogion brodorol. Rhoddwyd y

cynnygiad hwn mewn gweithrediad—ac ni chadwai y brenin iddo ei hun ond yn unig yr unrhyw ardrethion, tollau, a gwasanaeth a fuont bob amser yn perthyn i Dywysogion Cymru. Gwnaed ymchwiliadau i'r hawliau hyn, a phenderfynwyd ar eu nhatur a'u helaethder gan reithwyr wedi eu cymmeryd yn hollol o blith y Cymry. Gostyngwyd un rhan o dair yn yr ardrethion a delid gan drigolion Ynys Môn; cyhoeddwyd Rhuddlan, Conwy, Caernarfon, Fflint, a threfydd eraill ym mha rai y cedwid castelli, yn rhydd am byth oddiwrth dalu tollau. Gwnaeth archesgob Caer Gaint daith o ymweliad â'r holl wlad gyda'r amcan pennodol o gymmodi y clerigwyr; cafodd pob camwri y cwynid yn ei erbyn, ei gymmeryd dan ystyriaeth, ac adgyweiriwyd yr eglwysi a niweidiwyd yn y terfysgoedd diweddar. Mabwysiadwyd pob dyfeisfodd drwy y dobrwyon hyn a'r cyffelyb, y rhai mewn gwirionedd a osodent y Cymry mewn sefyllfa, o barth trethi a gwasanaeth gwriogaethol, llawer uwch na'r hon a fwynheid gan ddeiliaid Saesonig Iorwerth, i'w tueddu i anghofio eu cenedligrwydd, a chladdu mewn ebargofiad yr ymdrechion a wnaethant dros ryddid am wyth cant o flynyddoedd, yn erbyn y Teutoniaid, y Daniaid, a'r Normaniaid. Ond ystyrid yr holl ymnesiadau hyn yn eu gwir oleuni; ac nis gallai Iorwerth drwy unrhyw oddefiadau eu denu i gydnabod ei hawl-hòniadau ef i deyrnwialen Gwynedd. Atebiad anghyfnewidiol y penaethiaid a ffurfient gynghor y penadur diweddar, ydoedd, "Ni chaiff un Tywysog deyrnasu arnom ni, ag sydd heb ei eni ac heb fod yn trigo yn ein plith—ag sydd heb fod yn rhydd oddiwrth bob bradwriaeth—ac oddiwrth allu siarad un gair o'r iaith Saesonig." Cydsyniodd Iorwerth o'r diwedd â'r teleran hyn; a chan dynu yn ol ei hawl-hóniadau ei hun ac eiddo ei daiog Mortimer, pennododd ei faban bychan, Iorwerth, a anesid yng nghastell Caernarfon, i orsedd y Dywysogaeth. Cyflwynwyd y tywysog babanaidd i'r pendefigion Cymreig yn neuadd castell Rhuddlan, a derbyniwyd eu haddewidion o ffyddlondeb iddo. Ond safai corff cyffredin y bobl draw o hyd, ac ystyrient Madoc, mab ordderch Llewelyn, gwr ieuanc pymtheg mlwydd oed, fel gwir etifedd y linach henafol.

Ar ol bod yn absenol am dair blynedd, dychwelodd Iorwerth yn ol i Lundain. Yr oedd teyrnaddurnau yr hen freninoedd Brutanaidd wedi cael eu rhoddi i fyny iddo ef

yn Aber. Cynnwysent y pethau canlynol:—y "*Diadema Britaniæ*," sef y goron nad oedd neb ond brenin Prydain oll yn unig i'w gwisgo, a'r hon ni wisgasai neb er amser marwolaeth Cadwaladr Fendigaid—hefyd y Groes Nawdd, neu gyfran o'r wir groes, a anfonwyd gan St. Elen, mam Cystenyn Fawr, i'w brawd Llewelyn, tywysog Cymru, ac ar ba un, gydag Efengyl St. Ioan, y tyngid y Tywysogion Cymreig ar eu coroniad—hefyd, taleithiau (*coronets*) Tywysogion Gwynedd a Phowys—y Gronell a'r Groes—Teyrnwialen Trugaredd a Chleddyf Cyfiawnder y Brenin Arthur—cynllun mewn aur pur o'r Bwrdd Crwn ynghydag enwau y marchogion yn gerfiedig o amgylch yr ymyl, a llawer o bethau gorwych eraill tra dyddorol mewn hanesyddiaeth. Iorwerth, yng nghanol torf aneirif o bobl, yn cael ei ddylyn gan y pendefigion mawrion ac urddasogion yr eglwys, a wnaeth ei fynedfa arbenig i mewn i'r brif-ddinas, Ion. 18, 1286. Pan ddaeth i olwg eglwys St. Pedr, Westminster, efe a ddisgynodd, a chan dderbyn y Groes Nawdd mewn creirgist oddiwrth archesgob Caer Gaint, efe a'i cariodd yn dderchafedig, ac a'i gosododd gyda'r gemau oedd o'i hamgylch ar yr uchel-allor yn yr eglwys gadeiriol.

Drwy farwolaeth Alphonsus mab hynaf Iorwerth, yn 1285, daeth Iorwerth Caernarfon yn etifedd edlinaidd i'r goron Saesonig. Gan fod telerau cytundeb Conwy yn gofyn y dylai Tywysog y Cymry drigo yng Nghymru, a chael ei addysgu yn yr iaith Gymraeg, darfu i ymsymudiad Iorwerth Caernarfon i Loegr ddyddymu, ym marn y cyffredin, ei hawl i'r Dywysogaeth. Yr oedd Ifan o Gymru, mab hynaf y tywysog Dafydd, gwedi ffoi i Ffrainc, a chael cyfranogi o holl fanteision y plant breninol yn llŷs y brenin ym Mharis. Cafodd yr yspryd cenedlaethol le i dori allan, nid dan unrhyw benaeth addefedig, ond fel y cyfarwyddai gwroldeb personol. Ymgododd Rhys ap Meredyth, etifedd Tywysoges Dynefawr, dan arfau yn neheubarth Cymru. Pennodwyd Iarll Caerloyw gan Iarll Cornyw, rhaglaw Lloegr, yn benlluyddwr y lluoedd milwrol, i atal y symudiad gwladgarol. Yng ngwarchäedigaeth castell Ruslin, lladdwyd Arglwydd Stafford, Gwilym de Montcheny, a llawer o farchogion o fonedd drwy gwymp damweiniol muriau y castell. Gwnaed heddwch â Rhys, ond torodd y rhyfel allan drachefn a dygwyd ef ym mlaen gyda llwyddiant cyfnewidiol am dair blynedd, pan y cymerodd brwydr

benderfynol le rhwng Robert de Tibetot, y Mortimeriaid, ac eraill arglwyddi y cyffiniau ar un ochr, a Rhys ar yr ochr arall, yn yr hon y llwyr orchfygwyd yr olaf, gyda cholled o bedair mil o'i filwyr. Syrthiodd Rhys ei hun i ddwylaw y gelynion, a chafodd ei gludo i Gaerefrawg, ei brofi yno, ei grogi, a'i chwarthori. Iorwerth wedi ei galonogi drwy y fuddugoliaeth hon o eiddo ei arfau yn y Deheubarth, a orchymynodd i ynad Caerlleon-ar-Dwy, sef Roger de Pulesdon, ddwyn i mewn y gyfundrefn wriogaethol o drethiad i Ogledd Cymru. Gwyr yr Eryri yn ddioed a gymerasant y maes dan lywyddiaeth Madoc ieuanc ap Llewelyn, yr hwn a gyhoeddasant yn Dywysog Cymru; ymruthrasant ar Gaernarfon, a rhoddasant De Pulesdon i farwolaeth. Yna Morgan, etifedd hen dylwyth Morganwg, a gasglodd ynghyd ei ganlynwyr yn y swydd hono, a gyrodd Iarll Caerloyw tu hwnt i'r Hafren. Yr oedd Iorwerth y pryd hwn (o.c. 1294,) yn Gwasgwyn, yn dysgwyl am yr adgyfnerthion ag oeddynt dan lyw ei frawd Edmwnd yn barod i hwylio o Longborth, (Portsmouth); ond ar dderbyniad hysbysrwydd am y symudiadau hyn, efe a orchymynodd iddynt beidio a môrdwyo, a chyfarwyddodd Edmwnd ei ffordd i ymuno yng Nghaerlleon-ar-dwy ag Iarll Caer Guoric (Warwick,) ac aeth ym mlaen i Gymru. Gwrthwynebwyd ef dan gaerau Dinbych, (Tach. 11, 1294,) gan Madoc, a gorchfygwyd ef yn hollol. Ar hyn dychwelodd Iorwerth yn ol yn ddioed o'i diriogaethau ar y Cyfandir, a chan godi lluoedd ychwanegol, aeth ym mlaen ar hyd glàn y môr a thaflodd ei hun i mewn i gaerfa gadarn Conwy. Yn ei fynediad collodd y rhan fwyaf o'i lûgelfi, a gwarchaewyd y castell gan Madoc. Gwnaeth codiad disymwth yn afon Conwy sefyllfa y brenin yn fwy enbyd fyth. Ni adawodd y penaeth ieuanc un ddyfeisfodd heb wneuthur prawf o honi er dwyn llofrudd ei dad wyneb yn wyneb ag ef ar y maes, ond Iorwerth er gwaethaf gwasgiad eithafol y newyn dan ba un yr oedd y gwarchlu yn dyoddef, ni fynai ddyfod allan o'i amgaerau. Yr oedd y gostrel olaf a'r dorth olaf wedi eu treulio allan pan ddatganodd banerau Iarll Caer Guoric ddynesiad yr adgyfnerthion Saesonig ag oeddynt dan ei lywyddiaeth ef. Cododd Madoc y gwarchae ac enciliodd i amddiffynfëydd yr Eryri. Dylynwyd ef yma gan yr Iarll a gorchfygwyd ef, yn benaf drwy y modd medrus ac anarferol y cyflëid y saethyddion gan y cadfridog Saeson-

ig, yr hyn a wnaeth fyddinres arswydus gwaywffyn yr Eryri yn ddirym. Ar ol y frwydr hon, adeiladodd Iorwerth gastell Beaumaris. Yn Ionawr, 1295, cafodd y fyddin Saesonig ag oedd dan reolaeth yr Iarll ei gorchfygu yn ei thro gan Madoc yng Nghroesyswallt, ac ym mhen chwech wythnos wed'yn bu unol luoedd arglwyddi y Cyffiniau dan Mortimer, yn gyfranog o dynged gyffelyb yn agos i gastell Rowton. Wedi dwyn ym mlaen ei anrheithiadau hyd at byrth yr Amwythig, efe a safodd i ddysgwyl dynesiad Iarll Guoric, Mortimer, a Duc Caerwerydd, pa rai oeddynt yn awr wedi uno eu byddinoedd yng Nghefn-digoll, uwchlaw castell Caurs: parhaodd y frwydr ar hyd y dydd, ac nid oedd wedi ei phenderfynu pan wahanodd y nôs yr ymladdwyr. Braidd yr oedd tawelwch a gorphwysdra wedi ymsefydlu ar y gwersylloedd gelynol, pan y darfu i Enyr Fychan, gan gyflwyno ei hun ger bron yr Iarll, ymrwymo y byddai iddo mewn ad-daliad am ryw diriogaethau pennodol, ollwng y Saeson i mewn i'r gwersyll Cymreig a thraddodi Madoc ei hun i'w dwylaw. Derbyniwyd y cynnygiad gwaradwyddus; a chan gael eu harwain gan Enyr, yr hwn oedd yn llywyddu y rhagorsafau, yr Iarll a'i filwyr, gwedi ymwisgo fel ffynwayw-wyr yr Eryri, a amgylchynasant babell Madoc, a chan ddyfod yn ddisymwth felly ar warthaf y Tywysog pan yn lluddedig gan flinderau y dydd, hwy a'i cymerasant ef yn ei gwsg, ac a'i cludasant ymaith mewn cadwynau; ac ar yr un pryd gwnaed nôsruthr ar ranau eraill o'r gwersyll. Ar doriad y dydd pan oedd y Cymry ym methu gweled eu penaeth yn unlle, ac yn credu ei fod wedi ei ladd, hwy a ymadawsant gan ymwasgaru ym mhob cyfeiriad. O'r munyd ei cymerwyd—oddigerth y ffaith ei fod wedi cael ei drosglwyddo i'r Tŵr, mae bywyd a marwolaeth dylynol y Tywysog ieuanc dewrwych hwn wedi eu hamdôi yn y dirgelwch dyfnaf. Etifedd yspryd a chymhwysderau ei dad—fel ef wedi cael ei fradychu, mae ei dynged foreuol yn cynhyrfu ein dyddordeb a'n tosturi. Yn fuddugoliaethwr o'r bron er yn fachgen, mewn aml faes, ar fyddinoedd profedig ac yn meddu cyfarpariaeth rhagorol—fel hawliwr coron ei dad, y mae llawer o bethau yng ngyrfa ei fywyd yn dwyn ar gof i ni helynt Siarl Steward a'i ryfelgyrchoedd yn 1745, ac mae y cyfryw anghyffelybrwydd ag sydd rhwng y ddau amgylchiad yn ddiddadl yn ffafr y Tywysog Cymreig. Pa bryd, a

than ba amgylchiadau, pa un ai yn fyw neu yn farw, pa un ai ar ol cael ei wylio yn gaeth am flynyddoedd ym Mryn Gwyn Llundain, sef y carchar yn y dyddiau hyny ym mha un y traddodid gwroniaid a gwrthryfelwyr fel eu gilydd, neu ar ol yspaid hir o alltudaeth mewn gwledydd tramor—yn ddedwydd efallai ond yn ddinod, y dychwelodd neu y cludwyd ef yn ol i'w wlad enedigol, sydd hollol anadnabyddus. Mae ei weddillion yn gorphwys yn eglwys Gresford, lle y gellir gweled cof-adail o farchog mewn arfogaeth gyflawn yn y weithred o ddadweinio ei gleddyf, ei draed yn gorphwys ar lew, a'i darian yn dwyn arwydd y llew—arfbais adnabyddus llinach Llewelyn. Mae y beddfaen yn dwyn yr arscrifen gerfiedig, mewn rhan o'r bron wedi ei dileu, "*Hic jacket Madoc ap Llewelyn ap Gruff.* A.D. 1331." Dylai y fath gof-adail gael ei chadw gyda gofal ac edmygedd crefyddus. Mae yn ychydig foddlonrwydd i ni wybod fod y bradwr wedi methu dyogelu gwobr ei warth. Hawliodd "Enyr Fychan o swydd Feirionydd," medd cofysgrifau Caernarfon, "gwmwd Tal-y-bont yn ddiardreth, am ei fod ef wedi cymeryd Madoc ap Llewelyn, yr hwn yn y rhyfel ddiweddaf oedd wedi cyhoeddi ei hun yn Dywysog Cymru, ac wedi ei draddodi i ddwylaw y brenin. Ond pan ddeallwyd ei fod ef wedi esgeuluso cymeryd allan freinlen ysgrifenedig oddiwrth y brenin am y rhyddfraint, barnodd y llŷs ef i dalu ardreth am y tirafaeliad hwnw." Megys y gelwir y Pwyliaid a'r Hungariaid gan y Rwsiaid a'r Awstriaid yn yr oes hon yn *wrthryfelwyr*, felly y gelwid y gwladgarwyr Cymreig yn y dyddiau hyny gan y Normaniaid Saesonig. "Cododd y Cymry mewn gwrthryfel yn erbyn y Brenin Iorwerth," ysgrifena Harri o Walsingham, ac etholasant wahanol Dywysogion i'w llywyddu—dewisodd y Cymry Gogleddol, Fadoc o lîn Llewelyn eu tywysog olaf. Gwnaeth hwnw ruthr ar dref a chastell Caernarfon, a lluaws mawr o Saeson ag oeddynt wedi ymgynnull yno i'r ffair a roddwyd i'r cleddyf. Pan glywodd y brenin am hyn aeth i mewn i Gymru gyda byddin, ond gwrthwynebwyd a gorchfygwyd ef gan y Cymry mewn brwydr dost."

Daliwyd Maelgwyn Fychan hefyd, "gwrthryfelwr" arall o'r un cymeriad, yr hwn oedd wedi gosod ei hun uwchben gwladgarwyr Penfro ac Aberteifi, ac wedi ei gludo i Henffordd, trengodd drwy'r farwolaeth arferol a roddid yn gosbedigaeth gan Iorwerth ar y penaethiaid Cymreig a

ddisgynent i'w ddwylaw. Chwarthorwyd ef, ac anfonwyd ei aelodau i Gaernarfon, Caerwent, Penfro, a Chaerlleon-ar-Dwy.

Ymblygodd Morgan o Forganwg ar y telerau o gael cadw ei dir a'i ryddfreiniau, i Iorwerth, yr hwn a'i derbyniodd gyda phob urddas breninol yng Nghaerlleon-ar-Dwy. Y penaethiaid Cymreig eraill, ar dderbyniad sicrwydd na throsglwyddid un o'u hetifeddiaethau oddiwrth eu teuluoedd, a roddasant eu harfau i lawr; beth bynag, cymerwyd llawer o honynt mewn dalfa, a charcharwyd hwy yn y Tŵr.

Iorwerth, yn y rhyfeloedd a ddygwyddodd ar ol hyn yn erbyn annibyniaeth yr Alban, a wrthwynebwyd gan Wilym Wallensis, neu Wilym y Cymro—a elwid felly i wahaniaethu ei linach oddiwrth eiddo y Saeson, y Normaniaid, neu yr Albaniaid. Gwilym le Walys, neu megys y llygrid yr enw wedi hyny, Gwilym Wallace, gwron yr Alban, a anwyd yn nheyrnas Brutaniaid Ystrad Clwyd, a'i dad oedd ŵyr i Gwilym Ddu o Arfon, yr hwn o'i wlad enedigol Cymru a ddylynodd dyngedion Gwallter ap Trahaiarn, y Steward, i'r Alban. Yr oedd ei fam yn ferch o dylwyth Normanaidd Crawford. Yn yr hanesion cyfoesol ei gyfenwad arferedig ydyw Gwilym o Wales, neu Gwilym y Walys, a gwneir cyfeiriad amlwg at y gwahaniaeth rhwng ei darddiad ef ag eiddo y genedl a flaenorai yn achos rhyddid. Efe ydoedd arwr gwladogion Ystrad Clwyd, a chaseid ef gan bendefigaeth Normanaidd-Ysgotaidd yr Alban, drwy ddwylaw un o ba rai, megys y rhag-ddysgwyliai bob amser, y cafodd yn y diwedd ei fradychu. Rhaid chwilio am hanes ei fywyd a'i weithredoedd yn hanesiaeth yr Alban. Nid oedd ddim llai na 40,000 o Walensiaid neu Gymry ym myddin Iorwerth; ond cyhyd ag y daliodd Gwilym Wallensis lywyddiaeth y byddinoedd Albanaidd, gomeddent weithredu yn ei erbyn ef, neu daro dyrnod yn erbyn achos ag oedd mewn cymaint o ystyriaethau yn un â'r eiddynt hwy eu hunain. I'r un achos o wreiddioldeb Brutanaidd y rhaid priodoli tanbeidrwydd gelyniaeth personol Wallace tuag at Iorwerth a'i ddyhirwyr. Pan yn sefyll ei brawf, dywedai nad oedd yn teimlo yn ofidus ond am un peth yng ngyrfa'i fywyd, sef, ei fod heb ladd ddwywaith y nifer o Saeson ag a gyfrifid iddo. Nid oedd pen Llewelyn Olaf wedi ei symud ymaith oddiar ei yspigau pan aeth Gwilym

le Walys i mewn i Lundain yn garcharor. Yr oedd llygaid-dyllau gweigion y Walensiad Cymreig yn edrych i lawr ar Walensiad yr Alban—y ddau "yn hanedig o'r hen waed Brutanaidd—y ddau yn ferthyron rhyddid—y ddau wedi eu dwyn i farwolaeth gan ddwylaw bradwriaeth," fel yr oedd yn myned heibio i'w rith-brawf, ac oddiyno i'w ddienyddiad—dienyddiad a ddylynid â'r un creulonderau echryslawn ag eiddo y Tywysog Dafydd yng Nghaerlleon-ar-Dwy. Llusgwyd Walys, tra eto'n fyw, ar hyd yr heolydd—a'i draed yn rhwymedig wrth gynffon y march; yna hanner grogwyd ef, ond tra eto yn anadlu, tynwyd ef i lawr oddiar y grogben, gwnaed dau hac ar ei gorff ar ffurf croes, rhwygwyd ei goluddion allan a thaflwyd hwy i'r tân, a phan oedd ei aelodau eto yn yspongcio gan guriad y gwaed, torwyd ef yn bedwar aelod. Y fath oedd diwedd gwladgarwr mor gywir ac anhunangar ag a roddodd ddysglaerder ac arddduniant i hanesion unrhyw genedl. Dienyddiwyd Wallace ar Fryn y Tŵr, yn o.c. 1305.

Yn 1317, cynhyrfwyd Gwynedd gan derfysgoedd newyddion dan lyw Syr Gruffydd Llwyd, yr hwn am amser a ddaliodd ei holl siroedd yn ei feddiant. Pa fodd bynag gorchfygwyd ef yn y diwedd, a thorwyd ei ben yn Rhuddlan.

Bu farw Iorwerth I. Gorphenaf 7ed, 1307, yn Burghonsands, yng Nghernyw, tra yn myned ar ymdaith y drydydd waith i'r Alban, a chladdwyd ef ym mynachlog Westminster. Yn anystyriol o erfyniad ei dad pan ym marw, terfynodd Iorwerth II. y rhyfel, ac adennillodd yr Albaniaid y trefydd a gollasent. Ond yn 1314, adnewyddwyd y rhyfel, a dyoddefodd Iorwerth orchfygiad trwm dros ben yn Banockburn, yn agos i Stirling, ar law Robert Bruce, Mehefin 25ain. Ni hynodir teyrnasiad y Tywysog egwan ac anwadal hwn gan un dygwyddiad o bwys mewn hanesiaeth Gymreig. Olynwyd ef gan Iorwerth III., yr hwn a esgynodd i'r orsedd yn o.c 1327.

Yn rhyfeloedd tramor y brenin hwn, ac yn fwy neillduol ym mrwydrau Cressi a Phoictiers, dygai y lluoedd Cymreig ran hynodedig. Yr oedd yn arferiad gyda Hên Frutaniad y Dywysogaeth, pa ryfeloedd bynag a ddygid ymlaen rhyngddynt hwy a'r Normaniaid Saesonig o fewn yr Ynys, o wneuthur un achos cyffredin gyda hwynt bob amser mewn gwledydd tramor. Dyna'r rheswm paham yr oedd *cyfran mor* helaeth o filwyr Cymreig i'w cael ym myddin-

oedd yr Iorwerthiaid a'r Harriaid ar y Cyfandir. Ond yr Albaniaid a'r Gwyddelod yn y gwrthwyneb i hyn a ymrestrent bob amser yn rhengau y Ffrancwyr yn erbyn y Saeson a'r Cymry fel eu gilydd. Cadflaenor cyfranau milwrol Gogledd Cymru dan Iorwerth III. ydoedd Hywel, maethfrawd Iorwerth y Tywysog Dû, ac arglwydd castelli Beeston, Fflint, Rhuddlan, a Chriccieth. Yn 1346, arweiniodd Hywel 12,000 o wyr i ganlyn ei faethfrawd yn y rhyfelgyrchoedd Ffrengig. Byddin Iorwerth III. yr hon nid oedd, er cynnwys o honi y llu hwn, yn cyrhaedd i 32,000 o wyr, a orfodwyd ar ol anrheithio y wlad i fyny at gaerau Paris, i encilio yn ol o flaen uchafiaeth rhifedi dirfawr gallu milwrol Ffrainc tua glàn y môr. Pan gyrhaeddodd ei faenor etifeddiaethol yn Ponthieu, efe a arosodd yno ddydd Gwener, Awst 25ain, 1346, gan ddysgwyl brwydr. Llywyddid yr adran gyntaf gan y Tywysog Dû, ac yr oedd y lluoedd Cymreig ynddi dan Hywel; arweinid yr ail adran gan Iarll Arundel, a chedwid y drydedd gan y brenin ei hun fel olfyddin. Yr oedd y trefniadau wedi eu cyflawni ganddynt wrth eu hamdden, a phan ddaeth y fyddin Ffrengig i'r golwg gwelent eu gelyn yn aros yn llonydd, pob adran yn ei sefyllfa bennodedig ei hun. Yr oedd ffynwaywwyr yr Eryri wedi eu cyfleu ar eu gliniau yng ngwyneb y saethyddion Saesonig. Ac yma y cymerodd prif boethder y frwydr le. Gwnaeth Iarll Alencon uwchben gwyr arfog yr Almaen a Ffrainc ymruthriad ar Dywysog Cymru gyda ffyrnigrwydd mawr. Cynnaliwyd i fyny yr ymladdfa ar y pwynt hwn yn rhagorol am hir amser, ond terfynodd yng ngwymp Alencon a dymchweliad yr holl fyddin Ffrengig—cymerwyd Philip, brenin Ffrainc, allan o faes y galanas drwy orfodaeth gan ei osgorddlu personol. Bu cleddyfau deufiniog, byrion, ac awchlym y gwyr traed Cymreig o wasanaeth dirfawr i lwydd y diwrnod—cwympai meirch llwyrarfog y marchlu trwm ger eu bron, gan adael y marchogwyr llurugol i drugaredd eu gwrthwynebwyr bywiog. "Lle bynag y byddai ymwasgiad o wyr, ymruthrai y milwyr Cymreig i mewn i'w plith, gan ladd pawb a allent gyrhaedd â'u cyllill mawrion, yn feirch a marchogwyr."

Ym mhen deng mlynedd wed'yn, sef Medi 18ed, 1356, ymladdwyd brwydr Poictiers, yr hon oedd yn llawn mor ardderchog a difudd, ac yn ail i frwydr Cressi yn yr ymddangosiad o anfedrusrwydd milwraidd a diystyrwch rhy-

fygus o'u gelynion ar ochr y Ffrangcod. Eilwaith daeth eu byddin yn dŷn yn eu gilydd, ac yn ddiles oddigerth fel nôd i gawod saethau'r Saeson, y rhai a ddylynid gan ruthriadau angeuol marchluoedd y Normaniaid a thraedfilwyr y Cymry i ganol eu hanrhefn anobeithiol. Yn fuan ymgasglodd grym y rhyfel yn bwysig o amgylch y bryn a feddienid gan Ioan, brenin Ffrainc, ar ba un yr oedd yr hên faner freninol Ffrengig wedi ei gosod i fyny. Ffôdd y fyddindorf ag oedd dan Iarll Nassau heb gyfnewid dyrnod, gan ei adael ef yn agored i ffyrnigrwydd llym y rhuthriad Saesonig. O fewn ychydig o amser yr oedd dau cant o'i osgorddlu wedi eu tori i lawr neu eu gorfodi i erfyn am arbediad. Gadawyd ef o'r diwedd ei hunan gyda'i fab ieuanc Philip, bachgenyn pedair-ar-ddeg oed, yn ymladd yn ardderchog wrth ei ochr ef. I'r bob galwad arno i roddi ei hun i fyny, efe atebai, "pa le mae fy nghefnder, Tywysog Cymru?" Rhoddodd ei faneg o'r diwedd, medd Froissart, i Denys le Morbeque, marchog o Artois, ond llawer a ymrysonent ag ef am anrhydedd y gamp. Am ei wasanaeth yn y frwydr hon gwnaed Hywel yn gâdfarchog ar y maes, dan yr enwad Hywel y Fwyall—oddiwrth yr erfyn trwm pa un ni allai neb yn y fyddin ond ef ei hunan ei drin. Efe a gasglodd gynnysgaeth ddirfawr yn y rhyfeloedd hyn, a thrigodd am lawer o flynyddoedd mewn gorwychedd mawr yn ei gastelli yng Nghymru.

Daeth Ifan o Gymru, mab y tywysog Dafydd ap Gruffydd i feddiant o gynnysgaeth ac urddas yn ystod y teyrnasiad hwn yn Ffrainc. Priododd etifeddes o gyfoeth mawr, ond nid arfaethwyd mono i gael diangc rhag "tynged ddur" ei hiliogaeth. Canys Ioan Lambe, Sais, yr hwn yr oedd efe, fel y tybiai, wedi ennill ei serch at ei berson ei hun drwy lawer o gymwynasau, a'i trywanodd ef yn ei babell pan yn gwarchae Morton yn Poiton. Yr oedd Siarl o Ffrainc a'r holl fyddin Ffrengig yn bresenol yn ei angladd yr hon a gymerodd le yng Nghastell St. Ledger, yn yr un dalaeth.

Adnewyddwyd Urdd y Ford Gron gan Iorwerth III. dan y cyfenwad Urdd y Gardas, oddiwrth yr ysnoden lâs a ffurfiai ei nôd. Ymddengys fod ei harwyddair wedi ei fenthyca gydag ychydig wahaniaeth yn ei ddullweddiad oddiwrth eiddo Tywysogion Caerlleon-ar-Wysg, prif eisteddle yr hen wroniaid gynt—"Y neb a gais ddrwg, drwg a'i cyferfydd."

Olynwyd Iorwerth III. i'r orsedd gan ei ŵyr Risiart II., (mab Iorwerth y Tywysog Du o Gymru), wrth yr hwn, er mwyn ei dad, er gwaethaf gwagedd ei gymeriad, y serchymlynai y Cymry yn wresog hyd ei farwolaeth. Yr oedd Risiart II. yn byw mewn arddull o fawreddigrwydd uwchlaw pawb o'i ragflaenorwyr. Cynnwysai ei dylwyth 10,000 o bersonau. Ym mhlith prif gyfeillion y brenin yr oedd Owain Glyndŵr, gorŵyr Catherine, merch Llewelyn olaf, a chyd-etifedd â Meredyth ap Tudor, o Dywysogaeth Cymru.

Delid Iarllaeth Henffordd y pryd hwn gan Harri, mab hynaf Ioan o Gaunt. Yr oedd yr Iarll yn cynddrychioli y cyffiniau newyddion a Bohuniaid y cyffiniau ac yn ddysgynydd llinachol oddiwrth Nest, merch Trahaiarn, Tywysog Gogledd Cymru. Pan yn cwerylu â'r Duc o Norfolk pennododd y brenin i'r prawf drwy ymladdfa law-law derfynu y ddadl. Ar eu gwaith ym myned i mewn i'r ymladdle, cymerwyd ac alltudiwyd hwynt, Iarll Henffordd am ddeng mlynedd, a Duc Norfolk am ei oes. Ar farwolaeth ei dad, daeth Iarll Henffordd yn Dduc Caerwerydd, a gwnaeth ymgyrch yn erbyn Lloegr gyda'r ymddangosiad o adennill ei iawnderau. Yr oedd Risiart yn yr Iwerddon. Modd bynag tiriodd Iarll Caer Caradawg yng Nghonwy gyda'r bwriad o godi lluoedd Gwynedd yn erbyn Harri Bolingbroke. Darlunir Conwy gan Francis de la Marque, marchog Ffrengig yng ngosgordd Iarll Caer Caradawg, fel y dref harddaf a chadarnaf yng Nnhymru. Yr oedd Bolingbroke yn dynesu ymlaen uwchben 60,000 o wyr. Mewn pedwar diwrnod o amser ymgynnullodd deugain mil o Gymry yng Nghonwy, ond pan wybuasant nad oedd y brenin, megys y rhoddwyd ar ddeall iddynt, yn y castell, dywedasant wrth Iarll Caer Caradawg "pe buasai Risiart yma gan ei fod wedi taflu ei hun ar nawdd ein gwlad, ymladdasem drosto, iawn neu gam, hyd y diwedd. Yr ydym yn credu ei fod wedi marw, ac am hyny ni symudwn gam ym mhellach." Arosasant yno am bedwar diwrnod-ar-ddeg, a chan nad oedd un newydd am Risiart i'w glywed, ymwasgarasant i'w cartrefleoedd. Bu yr oediad hwn yn yr Iwerddon yn achos i'r brenin anffodus yma golli ei goron a'i fywyd. Tiriodd yn Aberdaugleddau. A chan adael ei fyddin yno, ffugiodd ei hun fel mynach o urdd St. Ffrainc, a marchogodd tua'r Gogledd gyda Duc Caerwysg yn Nyfneint, Duc Surrey, ac Iarll Caerloyw, i Gonwy. Hefyd y

oedd tri esgob, Caerlwytcoed, Ty Ddewi, a Chaerleil, ynghyd-ag Owain Glyndŵr, Ferriby, Scroope, ac eraill yn ei ganlyn ef. Darlunir yr olygfa a ddylynodd ymadawiad y Brenin, yn Aberdaugleddau, gan De la Marque.

"Penceidwad y lluoedd a'u galwodd hwy ynghyd, gan ddywedyd,—'yn gymmaint a bod y Brenin mor ofalus am achub ei hunan, bydded i ninau hefyd achub ein hunain—os amgen darfu am danom oll! Gorchymynodd i'r udgyrn seinio fel y byddai pob dyn yn barod i ymuno. Dylynodd terfysg rhyfeddol—cludent ymaith bobpeth a berthynai i'r Brenin—mantelli, tlysau, aur coeth, arian pur, aml farch rhagorol o wlad dramor, aml gem seirian a gwerthfawr, aml gochl harddwech ac ermin, brethyn trwm o aur, ac ystwff o gynlluniad y Cyfandir. I Syr Thomas Percy yn unig y perthynai y gofal am y pethau hyn. Efe ydoedd yr arglwydd brif ystafellydd. Yr oedd y Penceidwad ac yntau mewn brâd-gyngrhair â'u gilydd. Cymerasant eu ffordd yn union drwy Gymru. Ond deallodd y Cymry beth oedd ym myned ym mlaen; gwelsant y fradwriaeth, a chan ymffurfio yn finteioedd o fil a dwy fil mewn rhifedi, gwrthwynebasant eu hymdaith yma, acw, ac ym mhobman. 'Ha!' llefent, 'fradychwyr, fileiniaid! Nid yw Cymru yn ffordd i chwi, rhoddwch i fyny eich haur, eich tlysau, a'ch hyspail—ni roddodd y Brenin monynt i'ch bath chwi.' Cymerodd y Cymry oddiarnynt eu pedrolfeni, eu cerbyd a'u harnais, eu haur a'u holl dlysawg geinion. Yr oedd y Saeson wedi brawychu ac ymwylltio gymaint a hwythau; mil o honynt, wedi eu hyspeilio fel hyn, a anfonwyd at Dduc Caerwerydd yn droednoeth, wedi eu dyosg hyd eu hiswisg, ac heb ddim ond ffon yn eu dwylaw. Gorfu ar y lleill ag oeddynt heb fod ar feirch wneuthur yn hysbys o ba le y daethent, i ba le yr oeddynt ym myned, ac i roddi lawr eu hyspail yn bridwerth drostynt eu hunain, neu arweinid hwy yn ddioed i farwolaeth. Yr oedd y Cymry yn gyffredinol yn ddigllon am y trawsedd a'r cam a wneid gan y Saeson â'r Brenin. Y fath yspryd! Gwobrwyed Duw hwynt am hyn. Fel hyn y trinid y Saeson gan y Cymry, y rhai mewn gwirionedd ni ddangosasant iddynt unrhyw drugaredd, canys yr oeddynt yn ymarllwys i lawr o'r bryniau yn lluoedd aneirif. Clywais o fewn wyth niwrnod o amser y modd yr oedd y Cymry, y rhai ydynt filwyr galluog, wedi ymosod ar y Saeson, ymlid ar eu hol, a'u difeddianu o'u holl yspail."

Rhoddwyd castell Holt, yr hwn oedd yn meddu gwarchlu o wyr dewisedig, ac yn cynnwys trysorfa o 100,000 o farciau (*marks*) bathedig mewn aur, i fyny i Bolingbroke drwy fradwriaeth y llywiadur. Yna danfonwyd Iarll Northumberland gyda phedwar cant o ffynwaeywwyr a mil o saethyddion i ddal Risiart naill ai drwy orthrech neu dwyll. Rhoddwyd castell Fflint i fyny i Northumberland ar y gwysiad cyntaf—a boddlonodd Rhuddlan i dderbyn gwarchlu Lancastriaidd. Pan yn myned ymlaen tua Chonwy, trefnodd Northumberland ei wyr ar gûlffordd dan gysgod ysgwyddau y creigiau, a marchogodd ymlaen gyda herodydd, yr hwn a anfonwyd ganddo at y brenin i ddeisyf am gydymweliad. Ar ddiwedd yr ymddiddan a ddylynodd, dywedodd y Brenin "Northumberland, mae y Duc wedi eich dan-

fon chwi i wneuthur ailgymodiad rhyngddom ein dau. Os tyngwch ar gorph ein Harglwydd, yr hwn a berwn i gael ei gysegru, fod eich adroddiad yn wir—nad oes genych un bwriad dirgelaidd ynghadw, ond y bydd i chwi, fel arglwydd pendefigaidd, gadw eich cytundeb ar eich hochr chwi, ninau a'i cyflawnwn ar ein hochr ni. Gwn yn dda eich bod yn wr anrhydeddus, ac na wnewch dyngu anudon er mwyn unrhyw gêlwobr." Atebai yr Iarll, "Rhynged bodd eich mawrhydi, bydded i gorph ein Harglwydd gael ei gysegru; tyngaf nad oes un math o dwyll yn yr achos hwn, ac y bydd i'r Duc gadw y cyfan o'r hyn a adroddais." Yna y naill a'r llall o honynt a wrandawasant wasanaeth yr offeren, a'r Iarll heb un petrusder a gymerodd y llŵ hwnw ar gorph ein Harglwydd. Rhaid fod ei waed wedi cyfnewid o'i fewn pan yn ei gymeryd.

Y Brenin, heb un ddrwg-dybiaeth am fwriadau yr Iarll, a ddymunodd arno fyned ymaith o'i flaen ef a gorchymyn i giniaw gael ei ddarparu yn Rhuddlan, ac y byddai iddo yntau ei ddylyn. Marchogodd yr Iarll ym mlaen nes y daeth i'r fan lle yr oedd ei wyr wedi eu trefnu. Y Brenin, gan omedd gwrandaw ar rybuddion a gwrthdystiadau Owain Glyndŵr, yr hwn a'i cymmellai i gymeryd llong a ffoi i Ffrainc hyd nes gwawriai amserau gwell, a ymadawodd o Gonwy ac a aeth ym mlaen at y ddringfa greigiog wrth waelod pa un ar yr ochr arall yr oedd yr Iarll a'i filwyr yn ymguddiedig. "Yr wyf wedi fy mradychu," llefai Risiart, "Duw'r nefoedd! yr wyf wedi fy hyd-ddenu allan gan yr Iarll ar ei lŵ." Mewn atebiad i edliwiant y Brenin, dywedodd Northumberland yn ddifoes, "Yr ydych yn fy nghyhuddo i, fy arglwydd, o ddianrhydedd: wele, yr wyf yn tyngu i chwi ar gorph yr Iesu, a groeshoeliwyd dros bob dyn, gan eich bod genyf yma, y bydd i mi eich dwyn ar unwaith at Dduc Caerwerydd. Hyn yw y peth a addewais iddo er's deng niwrnod yn ol, ac yr wyf yn ffyddlawn, chwi a welwch, i rai o'm haddewidion.". O ganlyniad, arweiniwyd Risiart i gastell Fflint. Yr oedd byddin Harri yn gwersyllu o amgylch Caerlleon. Cyhoeddodd orchymyn ar i bawb fod mewn parodrwydd i gychwyn ar ymdaith. Seiniodd yr udgyrn, ac ar ddydd Mawrth, Awst 22ain, 1399, efe a ymadawodd oddiwrth Gaerlleon ac a aeth ym mlaen gyda'i holl lu, uwchlaw 100,000 o wyr mewn nifer, i Fflint. Fel yr oeddent yn ymdeithio mewn trefn frwydrol ar hyd

glàn y môr, deuai sain a rhuad eu hofferynau gyda'r gwynt, medd De la Marque, at amgaerau castell Fflint, lle y safai Risiart yn sylwi ar eu dynesiad. "Yr oedd yr olygfa yn orwech—yn cael eu tywys gan Syr Harri Percy (Hot-spur,) mab Iarll Northumberland, prif gadlywydd y Duc, yr hwn a gyfrifid fel y dyn goreu yn Lloegr." Ymdynodd y fyddin ym mlaen ac amgylchodd y castell yn hollol hyd yn oed i lawr at y môr, mewn trefn ragorol. Aeth Bolingbroke, yn gyflawn ymarfog oddieithr ei helm, i mewn i'r castell, a phan oedd y brenin yn dyfod i lawr grisiau cedwidfa (*donjon*) y castell, ymgrymodd iddo gyda'i gap yn ei law yn dra isel at y llawr. Tynodd y Brenin hefyd ei benwisg, a llefarodd yn gyntaf fel hyn: "Fy nghâr hynaws o Gaerwerydd, y mae i chwi gyflawn groesaw." Bolingbroke gan ymgrymu eilwaith yn dra isel at y llawr, a atebodd, "Fy Arglwydd, yr wyf wedi dyfod yma yn gynt nag y gyrasoch chwi am danaf; a dywedaf i chwi y rheswm. Chwedl gyffredin eich deiliaid yw, eich bod am ugain neu ddwy-flynedd-a'r-hugain wedi bod yn eu llywodraethu hwynt mor ddrwg a llymdost fel nad ydynt foddlon iawn i gymeryd i fyny gyda hyny; ond os rhynga bodd i'n harglwydd, mi a'ch cynnorthwyaf i'w llywodraethu hwynt yn well nag y cawsant yn yr amseroedd a aethant heibio." Atebodd Risiart ef, "fy nghâr hynaws, gan fod hyny yn eich boddio chwi, y mae yn ein boddio ninau yn dda." Hyn oedd y cyfan a gymerodd le rhyngddynt. Yna llefodd Bolingbroke yn uchel mewn llais sarug a chreulawn, "dygwch allan feirch y Brenin:" yna dygasant allan ddau ferlyn bychan truanaidd yr olwg arnynt; aeth y Brenin ar gefn un, ac Iarll Caer Caradawg ar gefn y llall. Ac yn y modd yma yr ymadawsant o Fflint.—"Buasai yn anhawdd y bore hwnw glywed taranau y nef o herwydd uchelsain tolbibau a pheroriaeth eu holl offerynau, sef llugyrn, tolbibau, ac udgyrn, y rhai a wnaent i làn y môr i gyd ar ei hyd adseinio drachefn." Carcharwyd y Brenin am ryw gymaint o amser yng nghastell Caerlleon, yna symudwyd ef i Lundain; a llofruddiwyd ef, neu yn fwy tebygol newynwyd ef i farwolaeth yng nghastell Pontefract, yn swydd Caerefrawg. Claddwyd ef yn King's Langley, swydd Henffordd, ond symudwyd ei gorff ef ar ol hyny i fonachlog Westminster, drwy orchymyn Harri v. Priodwyd Risiart ddwywaith, ond ni adawodd eppil o'r naill na'r llall o'i wragedd. Y

gwir etifedd i'r orsedd ar ei farwolaeth ef oedd Mortimer, iarll March, disgynydd o Lionel (Leoline) ail fab Iorwerth III., pan y pumed mab oedd Ioan o Gaunt. Hawliai Mortimer Dywysogaeth Cymru hefyd yn hawl ei henafes Gwladys Ddu, merch Llewelyn Fawr; ond yr etifedd cyfreithlawn oedd Meredydd ap Tudur; ac Owain Glyndwr yn nesaf iddo.

Y penaeth diweddaf hwn ar ddiorseddiad Risiart a ymneillduodd i'w etifeddau treftadol yn Nyffryn Dyfrdwy, y rhai oeddynt yn cynnwys deugain milldir ysgwâr o'r tir ffrwythlonaf yn y Gogledd. Ei gymmydog Normanaidd oedd Grey de Ruthyn. De Ruthyn oedd yr etifedd nesaf drwy waedoliaeth i De Hastings, iarll Penfro, a'i etifeddiaethau; ond Risiart II., yn lle rhoddi iddo yr hawl a phobpeth perthynol iddo, a'u cysylltodd hwynt wrth y goron—o ganlyniad, daeth De Ruthyn yn bleidiwr brwdfrydus i Bolingbroke, ac yn elyn dygasol i Glyndwr, prif gefnogwr Risiart yn y parthau hyny. Yr oedd cwyn cyfraith ag oedd rhyngddynt ynghylch darn o fynydd-dir yn agos i Ruthyn wedi cael ei benderfynu yn y teyrnasiad diweddaf yn ffafr Glyndwr. Ar ddyfodiad Bolingbroke i'r orsedd, difeddianodd De Grey ddeiliaid Glyndwr drwy drais, ac atafaelodd y tir. Aeth Owain i Lundain i geisio iawndeb. Yn y flwyddyn o.c. 1400, medd cronicl cyfoesol, "cynnaliwyd senedd yn Llundain—a daeth Audoen de Glyndwr iddi gyda chwyn fod Arglwydd de Grey wedi trawsfeddianu rhai o'i dyddynod yng Nghymru. Ond pallodd gael iawndeb. Rhybuddiodd esgob Llanelwy y senedd ddywededig i beidio ar un cyfrif esgeuluso y dywededig Audoen, neu byddai y Cymry yn dra thebyg o gyfodi dan arfau. Atebasant nad oeddynt hwy yn gofalu dim am Audoen na'i garnladron coesnoeth. Dychwelodd Owain yn ol i'w drigfa ym Mharc Sycharth. Yn fuan wed'yn cyflwynwyd dyfuneb (*writ*) i ofal De Ruthyn i gael ei gwasanaethu ar Glyndwr a'i ganlynwyr, yn eu gwysio i ganlyn Harri yn ei ryfelgyrch yn erbyn yr Alban. Cadwodd De Ruthyn y ddyfuneb heb ei gwasanaethu nes oedd yr amser ag yr oedd Owain i ymddangos wedi myned heibio. Yna darluniwyd ei absenoldeb gan Grey fel gweithred o anufudd-dod gwirfoddol; a Harri yr hwn oedd, heb o'r bron ddim amheuaeth, yn y gydfrad gyda'i daiog, a drosglwyddodd holl diroedd Owain yn ddioed yn anrheg i'w

elyn, ac a orchymynodd ei gyhoeddi ef yn deyrnfradwr. Bu agos i De Ruthyn ac Arglwydd Talbot, drwy wneuthur nôs-ymdaith gyflym, lwyddo i ddal Owain yn ei wely, cyn iddo gael unrhyw hysbysrwydd am eu dynesiad. Y dydd canlynol anfonodd y penaeth yr arwydd o ryfel—sef bwa tŷn-linynog, i'w holl ganlynwyr. Ac ar yr 20ed o Fedi, 1400, derchafodd y faner Gymreig, sef y Ddraig Gôch; cyhoeddodd ei hun yn Dywysog Cymru, a chan ymruthro ar Ruthyn, llosgodd yr holl dref i'r llawr, gan gludo y trafnidwyr ag oeddynt yn y ffair a ddygwyddodd fod ar yr un diwrnod, i'r noddfeydd mynyddig.

Yn Neheubarth Cymru, rhanwyd crynswth mawr y tir rhwng dwy gangan Urien Rheged neu deulu Dynefawr. Trigai pen un o'r cangenau hyn, sef Thomas ap Gwilym, yng nghastell Raglan—a'r llall yng nghastell Caerffili. Gallent rhyngddynt godi 40,000 o wyr i'r maes. Delid swydd Frycheiniog yn benaf gan deulu galluog Dafydd ap Llewelyn, yr hwn a adnabyddid yn gyffredin oddiwrth ei lygad croes, megys Syr Dafydd Gam, disgynydd llinachol o Caradawc Freichfras, arglwydd Aberhonddu yn nheyrnasiad Arthur. Priodwyd unig ferch Syr Dafydd, sef Gwladys, neu Claudia, yn gyntaf gyda Syr Roger Fychan, Tretower, i'r hwn yr ymddygodd hi Syr Roger, Tretower, Fychan ap Rosser, arglwydd Hergest, a Syr Watcin Fychan; eilwaith gyda Gwilym ap Thomas, arglwydd Raglan, i'r hwn yr ymddygodd hi Syr Gwilym ap Gwilym o Raglan, wedi hyny Gwilym Herbert, iarll Caerefrogaidd Penfro, a Syr Risiart ap Gwilym o Colebrooke a Threfaldwyn. Y Somersetiaid, duciaid Beaufort, sydd yn awr yn cynddrychioli llinach Gymreig Raglan; ac yr eiddo Trefaldwyn, gan yr Herbertiaid, ieirll Penfro. Yr oedd yr holl gangenau hyn o'r linach Urienaidd pan mewn undeb â'u gilydd yn ddigonol i droi mantol ffawd mewn unrhyw gweryl gwladol yn y deyrnas. Yr oedd Dafydd Gam yn bersonol yn gyfaill gwresog i Harri IV., ac am ryw gymaint o amser, yng Nghaerwent, ymddiriedwyd iddo addysg ei fab a'i etifedd, sef Harri, wedi hyny gorchfygwr Ffrainc, a aned ym Mynwy; ond gorbwys mawr y dylanwad Urienaidd a drodd o blaid Glyndwr.

Harri Percy, prifgeidwad Caerlleon-ar-Dwy, a Mortimer o Ludlow, cefnderoedd o waed, a'r ddau yn oresgynyddion i Llewelyn Fawr, oeddynt yn arfer y brif awdurdod ar y

cyffiniau rhwng Brycheiniog, a Chaerlleon. Priododd Anne Mortimer Risiart, duc Caerefrawg, yr hwn a laddwyd yn Wakefield, yn 1460, mab hynaf yr hwn, sef Iorwerth IV., a anwyd yng nghastell Usc, a gyfunodd linachau Mortimer a Llewelyn yn ei berson ei hun. Fel hyn yr oedd y prif chwareuwyr ar esgynlawr hanesiaeth Saesonig yn y bymthegfed ganrif yn gysylltiedig drwy waedoliaeth a genedigaeth â Chymru ac â'r Cymry. Yr oedd Harri V. yn disgyn o Nest ap Trahaiarn, ac wedi ei eni ym Mynwy. Yr oedd Harri Hotspur, Iorwerth IV., a Risiart III., yn disgyn o Llewelyn Fawr, y ddau olaf wedi eu geni yng nghastell Usc. Pa fodd bynag, yr oedd yr hawl etifeddol i goron Cymru yn ddilys yn perthyn i Glyndwr, fel cynddrychiolydd tair freninlin henafol y Cymry, sef Gogledd Cymru, Deheubarth Cymru, a Phowys; tra yr oedd ei gefnderoedd, y Tuduriaid, ym meddianu gwaed achau Gogledd Cymru a Deheubarth Cymru. Dan yr amgylchiadau hyn, pan nad oedd un hawliwr am goron Lloegr ar y maes, yr hwn a allai ymffrostio fod ganddo hên waed Brutanaidd yn ei wythenau, teimlai y Beirdd drwy holl Gymru nad allai un dygwyddiad gael ei ragfynegu gyda llai o berygl i'w bri proffwydol na'r sicrwydd o adferiad agosaol y freninlin gynhenid i unbenaeth Prain. O ganlyniad yr ydym yn cael y wlad yn gorlifo gyda'r fath ddaroganau, a phob ymgeisiwr yn eu cymhwyso gydag effaith tra ymddangosiadus ato ei hun. Dyddorol yw sylwi pa fodd y daethant yn raddol yn ganolbwyntiedig ar wir etifedd llinach hynaf Prydain—etifedd hefyd y Plantagenetiaid Lancastriaidd, a pha fodd eu cyflawnwyd yn llythyrenol yn Harri Tudur.

Yr oedd darpariadau Harri IV. yn erbyn Glyndŵr yn helaeth iawn. Adgyweirid castelli y cyffiniau, a gwarchluyddid hwy gan y milwyr galluocaf yn ei achos. Rhyddhawyd Aberhonddu, tref Syr Dafydd Gam, oddiwrth bob tollau, a derbyniodd freinlen o gorfforiad. Gosodwyd pob bardd, cerddor, a rhimynwr, dan ddeddf filwraidd gan y senedd, ac analluogwyd pob Cymro i ddal swydd dan y llywodraeth; gwaherddid arferu yr iaith Gymreig, yr hon oedd gadarnfa anhydraidd gwladgarwch a chyfrwng rhyddid; gwaherddid dwyn papyr ac offerynau i ysgrifenu i mewn i'r wlad dan boen cosbedigaethau angeuol; ni chaniateid i un Sais dan boen colli ei eiddo briodi Cymraes;

cyhoeddid fod plwyf yn gyfrifol am y cyflafanau, lladradau, a gweithredodd o drawsedd a gyflawnid o fewn ei derfynau; cyhoeddid maddeuant cyflawn i bob brodor—oddieithr Glyndŵr ei hun, a'i gefnderoedd Rhys a Gwilym ap Tudur, a roddai ei arfau i lawr erbyn rhyw ddiwrnod penodol. Yr oedd canlyniad y mesurau yma yn groes hollol i'r hyn a rag-ddysgwyliodd y llywodraeth Saesonig. Pob efrydydd Cymreig yn y prifathrofëydd, pob llafurwr, celfyddwr, ïe, a breint-weision yn y trefydd mawrion, a daflent i fyny eu llyfrau a'u hamodebau, a chan ymdeithio yn finteioedd yn y nôs ar draws y wlad, a brysurent i ymgynull o amgylch y faner wladwriaethol. Amlhae y beirdd eu Gorseddau, a chan ail ddwyn i mewn yr hên ddulliau Derwyddol o gerfio eu cyfansoddiadau ar y beithynen yn nodau cyntefig y goelbren, hwy addysgent y gwladogion foddion dirgeledig o gydymddyddan ag oedd hyd yn hyn yn gyfyngedig i'w hurdd eu hunain. Daeth pob pren yn fuan yn llyfr, yn genadwriaeth, yn rhybudd, yn frys-genad, neu yn apeliad egniol. "Ni bu yr iaith Gymreig erioed," medd ysgrifau Morganwg, "yn cael ei hefrydu a'i diwyllio gymaint a phan yn amser Glyndŵr, yr oedd pob pren mewn gwirionedd yn bren gwybodaeth ac yn athrofa o ddysgawdwyr." Aeth Harri ei hun i Gymru gyda byddin nerthol (o.c. 1401), ond gan nad allai ddwyn Glyndŵr i frwydr, llosgodd fynachlog urddasol Ystrad Fflur, yn swydd Ceredigion, i'r llawr. Dylynid ei enciliad gyda cholled drom oddiwrth yr eisiau a'r ysgarmesau parhaus ag sydd yn anwahanadwy oddiwrth y rhyfelgyrchoedd hyn. Owain gan anfon Rhys Tudur i losgi Trallwm a threfydd eraill ar y cyffiniau, a drodd ei arfau ei hun yn erbyn Harri Hotspur. Terfynodd y rhyfelgyrch blinedig yn enciliad yr olaf i Ddinbych a Chaerlleon, gan adael castelli Conwy a Chaernarfon yn nwylaw y Cymry. Yn y cynhauaf gorchfygwyd y llu Fflemaidd, ag oedd wedi dyfod ar ymdaith o swydd Benfro i gydweithredu â Hotspur, gan Glyndŵr, gyda cholled am un ran o dair o'u nifer ym Mynydd Hyddgant, Pymllymon. Aeth Glyndŵr oddiyno i Fynwy. Ymostyngodd tref Caerdydd ac arbedwyd hi; ond dinystriwyd castelli Penllyn, Llandoc, Hemingston, Dunraven, Talyfan, Llanblethian, Llanynian, Malefant, a Phenmarc. Cynnullodd y Normaniaid Saesonig eu holl luoedd ynghyd, a bu brwydr waedlyd ar Fynydd Bryn Owain, (Stallingdown);

parhaodd y frwydr (medd ysgrifau Llan-y-lai) am ddeunaw awr, yn ystod pa amser yr oedd y gwaed ym Mhant-y-wenol, ag sydd yn gwahanu deupen y mynydd, yn cyrhaedd i fyny at egwydau y meirch. Yroedd buddugoliaeth Glyndwr yn un derfynol. Yn y rhyfelgyrch hwn, gydag un cyfaill yn rhith gwas iddo, aeth y tywysog i gastell *East Orchard, St. Athans*, cyfaneddle Syr Lawrence Berkerolles, ac a ddymunodd, yn yr iaith Ffrengig, am dderbyniad croesawgar iddo ef ei hun a'i was am noson, yr hyn a ganiateid yn ewyllysgar. Yr oedd Syr Lawrence wedi ei foddio gan gymaint yn ei letywr fel y pwysodd arno aros yno am rai dyddiau, gan ddweyd ei fod yn dysgwyl gweled Owain Glyndŵr yno yn fuan, o herwydd fod y milwyr Saesonig yn rhedeg ar hyd y wlad yn chwilio am dano ef, ac ei fod ef ei hun wedi tyngu i roddi gwobrwyon mawrion i'r gwr a ddygai ei ben iddo ef. "Da iawn fyddai ei ddal ef," ebe Owain, "o herwydd os amgen y mae ef yn debyg, fel yr wyf yn clywed, o gael ei goroni yn fuan yng Ngogledd Cymru." Gwedi aros yno am bedwar diwrnod a phedair noson, ymadawodd Owain, dan gyfarch Syr Lawrence fel hyn:—"Mae Owain Glyndŵr, fel cyfaill diffuant, heb feddu na chasineb, bradwriaeth, na thwyll yn ei galon, yn rhoddi ei law i Syr Lawrence Berkerolles, ac yn diolch iddo am y croesawiad a fwynhäodd efe a'i gyfaill yn ei gastell; ac yn dymuno sicrhau iddo na feddylia ef byth ddialeddu am fwriadau Syr Lawrence tuag ato ef; ac ni chaiff hyny ychwaith, cyn belled y mae ganddo allu ataliol, fyned i feddyliau neb o'i ddeiliaid na'i ganlynwyr." Yna efe a'i gyfaill a ymadawsant. Tarawyd Syr Lawrence yn fud gan syndod, ac ni chafodd adferiad o'i barabl fyth wedi hyny—ni ddisgynodd un gair o hyny allan fyth dros ei wefusau. (Llyfr Mr. Lleison.).

Yn o.c. 1402, bu brwydr rhwng Grey de Ruthyn â Glyndŵr drwy gytundeb yn agos i bont Meifod, ar làn y Fyrniew, a gorchfygwyd ef gyda cholled o 900 o wyr, a chymerwyd yntau ei hun yn garcharor. Dyogelwyd ef mewn carchar yn Sycharth. Talodd 10,000 o forciau am ei ryddhâd, ac yn fuan wedi hyn efe a briododd Anna neu Ioana, ail ferch Glyndwr. Cododd Syr Edmund Mortimer, ewythr i Iarll ieuanc March, 12,000 o wyr, a bu brwydr ffrochwyllt rhyngddo ef ac Owain yn Mhille, yn Mrynglas, swydd Faesyfed. Cymerwyd Mortimer yn garcharor

mewn ymladdfa law-law gan y Tywysog Cymreig; lladdwyd 1300 o'i wyr, a rhoddodd 2000 o honynt eu hunain i fyny ar y maes. Llosgwyd Caerdydd, Abergafeni, a'r Pentrefi o amgylch Caerfyrddin, ac anrheithiwyd etifeddiaethau Syr Dafydd Gam. Anfonodd yr Is-fynachod symiau mawrion o arian i Glyndwr er ei alluogi i brynu arfau a chyflogi y deiliaid anfoddlonus ag oeddynt yn Lloegr. Gwnaeth yr ail ryfelgyrch dan lyw Harri ruthr ar Gymru mewn tair adran (Awst 27ain), a dylynwyd hi gyda'r un pall llwyddiant a'r gyntaf, gan iddynt gael eu cilgwthio gyda cholled o 5000 o wyr. Gan fod esgobion Bangor a Llanelwy yn myned yn bleidgar i'r Saeson, carcharodd Glyndwr y blaenaf ac ymlidiodd yr olaf allan o Gymru, a dinystriodd eu heglwysi cadeiriol. Cafodd esgob Llanelwy foddion i adgymodi â'r tywysog, a phrofodd ei hun o hyny allan yn ddeiliad ffyddlawn. Coronwyd Glyndwr gydag urddas ac edmygedd yn y cynheuaf ym Machynlleth. Ym mhlith y pendefigion Cymreig daeth Syr Dafydd Gam yno, yn lledrithiog, ac wyth o'i ganlynwyr, wedi eu cymhell, dywedir, gan y gormeswr i'w ryddhau ef drwy un dyrnod oddiwrth bob rhyw ofnau dyfodol o barth ei wrthwynebydd arswydlawn. Ond bradychwyd presenoldeb arglwydd Aberhonddu gan ei faintiolaeth cawraidd a'i lygad croes, ac felly dirymwyd y fradwriaeth. Dyoddefodd gosbedigaeth o ddeng mlynedd o garchariad am yr ymgais, a thorwyd penau ei ganlynwyr yn y fan.

Yn o.c. 1403, darfu y dygwyddiad trychinebus, sef, trydedd hynt filwraidd Harri i Gymru, a gymerwyd mewn llaw yng ngwanwyn y flwyddyn hon, gadarnhau ofnau ofergoelus y Saeson o barth y gallu a briodolid yn gyffredin i Glyndwr. "Drwy ei gelfyddyd swyngyfareddol," fel yr ysgrifena hên hanesydd, "perodd y fath dymhestloedd o wynt, gwlaw, eira, a chenllysg, na chlywsid am eu cyffelyb mewn un oes." Er mor afresymol yr ymddengys y ffordd foesgar hon o roddi cyfrif am orchfygiad ac israddiad milwraidd, y mae'n sicr pe buasai Glyndwr wedi cwympo unrhyw amser i ddwylaw Harri, y buasai wedi cael profi yr un dynged ag a roddwyd mewn grym ym mhen ychydig flynyddoedd ar ol hyny heb un cywilydd na gofid ar y Wyryf o Orleans, gan Ioan duc Bedford. Yn lle esgynglwyd y gwladgarwr, pawl a ffagodau y swyngyfareddwr a fuasai

ei ddedfryd. Gwedi nychu mewn afiechyd a lludded, enciliodd y fyddin Saesonig i Gaer Gorangon.

Ar y 15ed o Fedi, yn y flwyddyn flaenorol, yr oedd Harri Hotspur, yn mrwydr bryn Homildon, wedi gorchfygu yr Albaniaid a chymeryd eu cădarweinydd clodfawr, sef Archibald Tyneman, iarll Douglass, yn garcharor. Mynai y Brenin ar fod i Douglas a charcharorion eraill gael eu rhoddi fyny iddo ef. Ond gomeddodd Hotspur a'i dad, Northumberland, wneuthur hyny; ond ar waith Harri ym mŷnu ei ofyniad drwy orfod, aethant i gyngrhair dirgelaidd â Glyndwr. Ymwelodd Hotspur â Glyndwr a Mortimer yn nhŷ Dafydd Daron, deon Bangor, ymha le y tynwyd cytundeb drwy yr hwn yr ymunent i ddosbarthu yr Ynys yn dair rhan—Percy i deyrnasu dros yr holl diriogaeth ar ochr gogleddol y Trent—Mortimer ar ochr ddeheuol y Trent—a Glyndwr ar yr holl wlad yn orllewinol i'r Hafren. Daeth toriad yr heddwch â Harri yn fuan o ffurf gyhoeddus. "Northumberland," medd y cronicl cyfoesol, "a ddanfonodd ddeiseb at y Brenin am yr arian oeddynt yn ddyledus iddo am gadwraeth cyffiniau yr Alban. Atebodd y Brenin, 'arian nid oes genyf—ac un swm o arian ni chewch genyf.' 'Ar yr un eiliad daeth Harri Hotspur i mewn, yr hwn oedd wedi priodi chwaer Edmund Mortimer, ag oedd y pryd hyny yn garcharor i Owain Glyndwr, gan erfyn ar y Brenin ganiatâu i Edmund gael ei brynu o'i gaethiwed ag arian o'r trysorlys breninol.' Dywedodd y Brenin 'na wnai ef fyth nerthu ei elynion personol â'r arian breninol.' Dywedai Harri Percy, 'A yw dyn i enbydu ei fywyd drosoch chwi a'ch teyrnas, a chwithau beidio symud lled troed i'w gynorthwyo ef? Atebodd y Brenin mewn digllonedd mawr, 'bradwr wyt ti! beth, cynorthwyo fy ngelyn fy hun a'm teyrnas?' Ar hyny atebodd Harri, 'nid wyf fradwr, ond deiliad ffyddlon, ac fel deiliad ffyddlon yr wyf yn llefaru.' Tynodd y Brenin ei gorgledd allan yn ei erbyn ef. 'Nid yma ond rhywle arall,' ebe Percy, ac aeth ymaith." Yna Percy a'i ewythr, iarll Caer Gorangon, a gasglasant ynghyd fyddin fawr dan rith amddiffyn cyffiniau yr Alban, ac ymdeithiasant tua Chymru. Erfyniodd Glyndwr ar Percy beidio dechreu ymladd nes byddai efe wedi ymuno ag ef gyda haner ei luoedd o leiaf; ond naill ai drwy ormod o hyder rhyfygus ynddo ei hun, neu o raid, tarodd i ymladd â Harri yn yr Amwythig—lladdwyd

ef, a dymchwelwyd ei fyddin ar y nôs o flaen gŵyl St. Magdalen, tra yr oedd Glyndŵr yn anrheithio Deheubarth Cymru. Ceisiodd Harri ddylyn i fyny ei fuddugoliaeth drwy wneuthur pedwerydd ruthr i Gymru, ond dychwelodd "mor fuan ag yr aeth, canys ni all meirchfilwyr weithredu yn y wlad hono—(*Terra est inequitabilis*)." Tua diwedd y flwyddyn hono, gwnaeth Edmund Mortimer gyfathrach briodasol â merch henaf Glyndwr. Ar farwolaeth ei dad-yngngyfraith, wedi cymeryd adduned arno na fyddai byth yn ddeiliad i Harri, efe a ymneillduodd i Graig Ifor, yn yr Alban. Yr oedd swydd yr Amwythig wedi ei gwneuthur yn anghyfanedd y flwyddyn hon gan y Gwyneddwyr o dan lyw Gwilym ap Tudur.

Yn o.c. 1404, gwnaed cyngrhair, ymosodol ac amddiffynol, rhwng y ddau benadur Glyndwr a Siarl o Ffrainc. Llaw-nodwyd ef ym Mharis, Mehefin 14eg, a chadarnawyd ef gan Glyndwr yng nghastell Llanbedr. Syrthiodd castelli Harlech ac Aberystwyth i'w ddwylaw ef, ond cyfarfyddodd a gwrthdröad yng Ngwmdu, yn swydd Drefaldwyn, oddiwrth lu Saesonig ag oedd ar ymdaith i Ddeheubarth Cymru. Gan gasglu adgyfnerthion goddiweddodd y gelyn drachefn yng Nghraig-y-dorth, yn agos i dref Fynwy, a chafodd oruchafiaeth hynod arnynt. Yna efe a warchaeodd Gaerdydd. Anfonodd y gwarchlu at Harri am gymorth. Ond ni ddaeth efe yno ei hun ac nid anfonodd gynorthwy chwaith. Cymerodd Owain y dref a'r castell, gan losgi pob un oddieithr yr heol oedd yn perthynu i'r Is-fynachod. Yr oedd llyfrgell y Mynachod wedi ei dodi yn y castell: "A ydych chwi yn rhoddi eich hymddiried mewn castelli?" ebe Owain, yr hwn oedd yn coleddu y diystyrwch mwyaf atynt—fyth yn gosod gwarchlu mewn un a gymerid ganddo, a byddai yr oll oeddynt yng Nghymru ar brydiau yn ei ddwylaw—rhoddwch ef yn eich heglwysi, ac ni thwyllir chwi ynddynt hwy." (y llawysgrifau Harleian). Yr oedd Dante y bardd Eidalaidd, yn westai i'r Tywysog Cymreig yn y cynheuaf hwn, yn Sycharth a Beddgelert. Mae cyfieithiad Cymreig o bryddestau Petrarch, gan Owain, yn dangos ei chwaeth a'i dueddgarwch at y lenyddiaeth ag oedd y pryd hyny yn ymdderchafu yn yr Eidal.

Yr oedd yr Iarll March ieuanc a'i frawd yn cael eu cadw mewn dalfa gaeth yn Windsor. Penderfynodd Glyndwr wneuthur ymgais i'w gwaredu, ac yr oedd ei ymwybyddiaeth

gyda'r anfoddogion yn y llŷs Saesonig mor berffaith, fel y bu agos i'r ddyfais lwyddo. Yr oeddynt i gael noddle yn Sycharth, a Glyndwr i gael ei benodi yn rhaglyw ac amddiffynydd y deyrnas yn ystod mebyd yr Iarll. Yr oedd Constance arglwyddes Spencer chwaer duc Caerefrog yn prysuro i Gymru gyda hwynt pan oddiweddwyd hi ar y ffordd, ac y dygwyd hi yn ol. Penododd Harri ei fab, sef Harri o Fynwy, gyda chynorthwy hên gâdflaenoriaid, i arlywio ei luoedd yn swydd Henffordd. Ymladdwyd dwy frwydr, un yn Grosmont, ym Mynwy, a'r llall ym Mynydd Pwll Melin, yn swydd Faesyfed, ym mhob un o ba rai y gorchfygwyd y Cymry; pan y lladdwyd Tudur, brawd Owain, ac y cymerwyd Gruffydd, mab Owain, yn garcharor. Gruffydd wedi bod yn gaeth dros amser yng nghastell Nottingham, gyda Iago, yr hwn ar ol hyny fu yn frenin ar yr Alban, a gyfnewidiwyd yn ddylynol am ryw garcharorion Seisnig-Normanaidd, gwyr o nôd. Dylifai y lluoedd Saesonig i mewn i'r Dywysogaeth, a darostyngwyd Owain i gyfyngderau mawrion. Crwydrodd o fynydd i fynydd, gan ymguddio fel Alfred, mewn ogofëydd a chorsydd. Cambriodolwyd y trallodion a ddioddefodd y pryd hwn gan ryw haneswyr Saesonig i ddyddiau olaf ei fywyd. Ail-ymgynullodd ei bobl yn fuan o'i amgylch, ac yntau a ymdeithiodd uwchben 10,000 o wyr i Ddinbych y Pysgod i groesawu dyfodiad llynges Ffrengig o 140 o longau, yn meddu ar ei bwrdd 12,000 o luoedd milwrol. Tiriasant ym mhorthladd Aberdaugleddau, ac mewn cyfuniad âg Owain, cymerasant Gaerfyrddin, ac aethant ym mlaen i Loegr. Ar fryn Woodbury, oddeutu naw milldir o Gaer Gorangon, daeth Glyndwr a'i hên wrthwynebydd, Harri o Loegr, wyneb yn wyneb am wyth niwrnod, heb na'r naill na'r llall anturio disgyn i wared o'i sefyllfa. Ar golliant ei lûgelfi, enciliodd Harri yn ol i Gaer Gorangon a symudodd Owain i swydd Fynwy, ac oddi yno i Aberdaugleddau, lle yr arolygodd waith ei gyngrheiriaid Ffrengig yn myned eilwaith ar fwrdd eu llongau. Syrthiodd castelli Aberystwyth a Choity i'w ddwylaw ef.

Northumberland mewn cydgynghor ag esgobion Bangor a Llanelwy a fwriadodd godi gwrthryfel yn y Gogledd, ond dirymwyd y gydfrad, a chymerodd Northumberland noddfa am ddwy flynedd gyda Glyndwr. Gan nad oedd medd a cwrw yn cytuno a chyfansoddiad yr iarll, atgludwyd

gwinoedd Hispaenaidd gan Glyndwr yn un o'i longau ddwywaith yn y flwyddyn at ei wasanaeth. Anfonodd Siarl o Ffrainc ail lu o wyr arfog yma ar fwrdd deunaw-a'r-hugain o drosglwydd-longau (o.c. 1406), wyth o ba rai a gymerwyd pan ar eu mordaith, ond cyrhaeddodd y lleill Gymru. Treuliwyd y blynyddoedd 1407—8 mewn llonyddwch cymhariaethol ar bob ochr. Northumberland gan adael arnoddiad y Tywysog Cymreig, a gymerodd arfau i fyny yn swydd Gaerefrawg, ond wedi ei fradychu gan Syr Thomas Rokeby, gorchfygwyd a lladdwyd ef ynghydag arglwydd Bardolph yn Bramham Moor. Nid oedd un o'i gydbleidwyr yn Lloegr yn meddianu barn oleu neu athrylith filwrol y gwladgarwr Cymreig, ac ni ddylynid ei isgadbeniaid ychwaith â'r un ffawd ddaionus ag a chwythai ei fanerau ef ei hun ar y maes. Yng ngwanwyn 1409, cariodd lwydd ei arfau i swydd Gaerloyw, ond yn swydd yr Amwythig Rhys Ddu a Philip Scudamore, gwyr o ymddygiad a gwroldeb rhyfeddol, a orchfygwyd, ac wedi eu hanfon i Lundain, a ddihenyddiwyd. Er hyny, aeth arglwyddi y cyffiniau i ymrwymiad â Glyndwr i dalu iddo deyrnged flynyddol mewn ffordd o ardreth am eu tiroedd. Yr oedd y Ffiemingiaid yn hir cyn hyny wedi gwneuthur yr un modd. Gellir barnu cyflwr dinystriol y cyffiniau oddiwrth iaith y senedd, yr hon a ddywed "fod Glyndwr yn yr holl barthau hyny braidd wedi peri dyfethiad hollol y genedl a'r iaith Saesonig." O'r amser hwn, o.c. 1409, hyd ei farwolaeth yn 1416, gadewid Glyndwr mewn meddiant llonydd o'r Dywysogaeth. Awdurdodwyd tad-yng-nghyfraith Syr Dafydd Gam, sef Llewelyn ap Hywel, ynghyda Syr Ioan Tiptoft a Syr Gwilym Butler, gan Harri IV. (1412) i gylafareddu am ryddhâd Syr Dafydd. Prynwyd ef o'i gaethiwed am 10,000 o forciau, ar air ei anrhydedd na byddai iddo fyth drachefn ddwyn arfau yn erbyn Owain. Yn fuan ar ol ei adferiad i ryddid, lladdodd Syr Dafydd ei gâr, Morgan Fawr, arglwydd Slwch, mewn cweryl damweiniol ym mhrif heol Aberhonddu, ac yna gyda chorff mawr o'i ganlynwyr, a lywyddid gan ei fab-yng-nghyfraith, Roger Fychan o Bredwardine, swydd Henffordd, a Watcin Llwyd o Aberhonddu, ymunodd â'i noddwr, Harri IV., yn Llundain.

Dylynodd Harri o Fynwy ei dad ar orsedd Lloegr, yn 1413. Gwnaed cynnygiadau heddychol ddwywaith gan *Harri drwy y clodfawr* Gilbert Talbot, (1415—6,) i Owain,

gan addaw iddo ef a'i ddylynwyr faddeuant rhâd os dychwelent eilwaith at yr hyn a elwid eu llŵ o ffyddlondeb. Gan ei fod yn ddyogel yn serch ei ddeiliaid, ac yn rhydd oddiwrth bob gelyn o fewn ei diriogaethau heirdd ei hun, parhäodd Owain yn anhygyrch i bob gwahoddiad i aberthu anrhydedd neu genedligrwydd ei wlad; ac yr oedd y Dywysogaeth yn cael ei hystyried mor hollol golledig i Loegr gan y penadur galluog ag oedd wedi darostwng Ffrainc wrth ei draed, fel na chafodd ei fab ieuanc, Harri VI., er wedi ei goroni yn frenin Ffrainc a Lloegr, erioed ei urddo na'i goroni yn Dywysog Cymru—y deyrnged uchaf a ellid ei thalu gan y penadur gwronaidd yr hwn oedd ei hun o enedigaeth Gymreig—

"Canys Cymro ydwyf, gwyddoch, fy nghydwladwr da,"

i ditl a mawrwychedd personol ei gydymgeisydd tywysogaidd yn y Gogledd. Mae yn hyfryd gweled haul bywyd Owain yn tynu fel hyn at ei fachludiad mewn gogoniant anllychwinol a heddychol.

Ganed Harri V., y Cymro enwog arall perthynol i'r cyfnod hwn, a'r tywysog cyderbyniol i Glyndwr, yn un o'r manau prydferthaf yn y deyrnas—sef yng nghastell Mynwy, cyfran o etifeddiaeth ei fam. Dygwyd ei addysg ymlaen ar y cyntaf dan Syr Dafydd Gam, ond gorphenwyd ef yn nheulu ei gâr breninol Risiart II., yr hwn a ganlynodd efe ar ei hynt filwrol i'r Iwerddon, a chan yr hwn y gwnaed ef yn farchog am weithred o wroldeb bachgenaidd ar faes y gâd. Ar goroniad ei dad gwnaed ef yn Dywysog Cymru; "ond," fel yr ychwanega Creton, ysgrifenydd cyfoesol, "rhaid iddo ef ei hennill yn gyntaf, canys mae'r holl wlad hono yn nwylaw Glyndwr." Wedi ei benodi yn is-gadben cyffiniau Cymru, dygodd ym mlaen ddau ryfelgyrch gyda medrusrwydd ag a gywilyddiodd lawer hên gâdarweinydd. Pan yn yr ail flwydd-ar-bymtheg o'i oedran dygodd ran nodedig ym mrwydr yr Amwythig; yn yr hon pan archollwyd ef yn ei wyneb gan saeth, gomeddodd adael y maes. Gan fod holl gyllid Tywysog Cymru yn nwylaw Glyndwr a'r penaethiaid gwladgarol oddiar ba rai ni ail-feddianwyd hwy fyth yn ol drachefn, yr oedd Harri wedi ei ddarostwng i'r tylodi mwyaf dirwasgol. Gyrwyd ef gan gyflwr anobeithiol ei argyllidau i'r fath arferion, megys cynllwyn ac yspeilio swyddogion y trysorlys, ag a fuasai yn fuan yn

terfynu gyrfa bywyd unrhyw un arall heblaw etifedd cyn nesaf y goron, ar y crogbren: yr oedd ei ymddygiad yn ystod y blynyddoedd hyn yn wrthwynebol nodedig i'r hyn ydoedd yn ystod ei ryfelgyrchoedd yng Nghymru. Bu yn caru yn hir ac yn ddyfal, ond yn ofer, Isabella, gweddw ieuanc Risiart, yr hwn a lofruddiwyd. Ar ei ddyfodiad i'r orsedd (Mawrth 21, 1413,) mynai gael priodi Catrin, a gyfenwid y Brydferth, plentyn ieuengaf Siarl vi., brenin Ffrainc a'i frenines Isabel o Bavaria, ynghyda'r gynnysgaeth afresymol o ddwy fyrddiwn o goronau a'r holl daleithiau deheuol, a fuont unwaith yn etifeddiaeth i Elen o Aquitaine. Nid oedd Catrin ond plentyn yn y drydeddflwyddyn a'r-ddeg o'i hoedran, gan fod wedi ei geni Hydref 27,1401; er hyny cydsyniodd Siarl i'r ymrwymiad os boddlonai Harri ar gynnysgaeth o 450,000 o goronau. Gwrthodwyd y cynnygiad yn ddioed; cyhoeddwyd rhyfel yn erbyn Ffrainc,a chynnullwyd byddin ymgyrchol Saesonig yn Southampton, ym mha le, drwy gennad Glyndwr, yr ymunodd Owain Tudur o Ogledd Cymru â Harri. Syr Dafydd Llewelyn Gam hefyd, yr hwn yn ddiweddar oedd wedi cael yr anffawd ar ol ei ryddhâd allan o gaethiwed o ladd ei gâr, Syr Risiart Fawr o Slwch, mewn cweryl yn Aberhonddu, a gyfrestrodd ei hun gyda chorff cryf o'i garenydd a'i ganlynwyr yn yr hynt filwrol. Ar fin eu môrdwyad, y gydfrad a luniwyd gan Iarll Caergrawnt, yr hwn oedd berthynas agos i'r brenin ac wedi priodi Anne Mortimer,chwaer Iarll Mortimer, a mam yr hynod Risiart duc Caerefrawg, olynydd yr iarll, a ddatguddiwyd i'r brenin gan Mortimer ei hun. Torwyd pen Iarll Caergrawnt ynghyda'i gydfradwyr Scrope, a Syr Thomas Grey. Hwyliodd y llynges arfog ymaith Awst 7, 1415, a thiriodd yn Harfleur ar y 18ed o Fedi. Y rhyfelgyrch a ddylynodd a derfynwyd Hydref 25, drwy frwydr glodfawr Agincourt. Llywyddid gorsafluoedd y fyddin Saesonig gan Syr Dafydd Gam; ac yr oedd yr adroddiad a ddygodd efe i mewn i'r brenin ar y noson cyn y frwydr yn dangos yspryd diystyr a dibryderus y dyn—"Mae yna ddigon o Ffrancod i'w lladd, digon i'w cymeryd yn garcharorion, a digon i redeg ymaith." Nid allasai un darluniad yn ddiau gael ei ragroddi yn fwy gwirioneddol am ganlyniadau y frwydr. Ar doriad y wawr bore dranoeth, trefnodd Harri ei luoedd yn dair adran; yr oedd y Ffrancod o ran rhifedi megys saith i un,

ond yn cael eu trin a'u trefnu mor anfedrus fel ar ol cwymp Alencon yr oedd yr ymladdfa yn gyflafan o dyrfäodd analluog i wrthwynebu neu i ymdrefnu, yn hytrach na brwydr. Pallodd eu rhengc gyntaf ymffurfio dan saethgawod echrydus y bwäwyr Saesonig, ac yn eu ffoedigaeth dygasant annrhefn i'r ail. Gwnaeth y flaenfyddin Saesonig yn y cyfwng hwn ymsymudiad meistrolgar ym mlaen, gan ruthro gyda'r ffoedigion i ganol y Ffrancod. Yma yn unig y dygwyddodd unrhyw ymladd gwirioneddol, a chymerodd hyn le o amgylch y brenin. Mewn her-feiddiad rhodresgar i'r goron Ffrengig, yr oedd Harri wedi gosod pais-arfau Ffrainc ar ei gôb, gan ddangos y *fleur-de-lys* ar dorch ei helm. Darfu deunaw o farchogion Ffrengig o'r gwroldeb mwyaf dan flaenoriaeth arglwydd Croye, ymrwymo eu hunain drwy gymun yr offeren i daro y pethau hyn ymaith neu farw yn yr ymgais. Yr oeddent yn gwneyd i fyny gyfran o ddylynwyr y tanbaid dduc Alencon, yr hwn gan eu harwain hwynt a'r lleill o'i gymdeithion ym mlaen, a dorodd ei ffordd at faner freninol Lloegr. Curwyd i lawr y duc Clarence—a lladdwyd duc Caerefrawg. Harri, gan adael y faner, a amddiffynodd gorff ei berthynas ag oedd ar ei hyd ar lawr, ac yn y sefyllfa hon ymosodwyd arno gan Alencon a'r marchogion. Yr oedd yr ymladdfa derfysgol yn un o'r fath fwyaf ffrochwyllt. Torwyd ymaith gyfran o goron Harri drwy ddyrnod â chad-fwyell Alencon, drwy rym pa un y syrthiodd i lawr ar ei liniau —cyfeiriwyd llu o eirf at ei fywyd, un o ba rai a allasai derfynu ei yrfa a phenderfynu llwyddiant y diwrnod; ond ar yr eiliad hwn, Syr Dafydd Gam, ei fab-yng-nghyfraith, Syr Roger Fychan o Bredwardine, ynghyda'i ŵyr, Syr Roger Fychan, llencyn un-a'r-bymtheg oed, o Dretower, Syr Gwilym ap Thomas, yr hwn ar ol hyny a briododd Gwladys, merch Syr Dafydd, a gweddw Syr Roger o Bredwardine, a ruthrasant ar y fyddinres Ffrengig gyda'r fath ffyrnigrwydd fel y lladdwyd Alencon a'r deunaw marchog bob gwr. Enciliodd y Ffrancod ym mhob cyfeiriad; y Brenin gan wella o effeithiau dyrnod Alencon, a wasgai ymlaen ei lwyddiant—rholiodd llif y frwydr ymlaen; nid arosodd y drydedd adran Ffrengig am yr ymladdfa, ond ymchwalodd a ffôdd o'r olygfa o drychineb a chywilydd gwladwriaethol. Harri ar ol gweled y gelyn yn ffoi a ddychwelodd yn ol dros gadfaes wedi ei orchuddio gan fwy

nag wyth mil o gyrff meirwon prif bendefigion a boneddwyr Ffrainc, i'r fan ym mha le mewn effaith y terfynwyd y frwydr. Cafodd Syr Dafydd, Syr Roger, a Watcin ap Ifan, yn marw ym mreichiau eu cydfilwyr, ond eto yn eu gwybodaeth. Islaw iddynt ac o'u hamgylch y gorweddai cyrff y marchogion dewraidd Ffrengig yn bentyrau. Gwnaeth Harri ei dri gwaredwr yn farchogion ar y fan y gorweddent, pan oedd gwaed eu bywyd yn llifo o lawer archoll dychrynllyd â chleddyf ag oedd mor gôch a'r eiddynt eu hunain; ac ni chafodd brwydr-farchogiaeth erioed ei deilyngu yn fwy helaeth, ei gyflwyno yn fwy breninol, na'i gludo i'r bedd o gadfaes mwy mawreddus.

Deuddydd ar ol glàniad y Saeson yn Harfleur, a phymtheg-niwrnod-a'r-hugain cyn marwolaeth ardderchog Syr Dafydd Gam, y terfynodd Owain Glyndwr, tywysog Cymru, ei fodolaeth ddaearol, (Medi 20ed, 1415,) ar fynwes ei ferch ieuengaf, ac yng nghanol ei ŵyrion, ym Monington, yn swydd Henffordd. Yn yr undeb o holl gymhwysderau gwladgarwr, cadfridog, marchog gwirioneddol ar faes y gâd, a boneddwr perffeithlawn yn y llŷs, rhaid cydnabod Owain Glyndwr fel y gwr mwyaf hyglodus, dyddorol, a harddfoesawg o eiddo y bymthegfed ganrif. Rhwng machludiad haul Llewelyn a chyfodiad yr eiddo Tudur, tafla ysplander ar entrych cyfryngol y wybr Gymreig ag sydd wedi cynhyrfu dychymyg y Bardd gystal ag wedi beiddio edmygedd mwy sobr yr Hanesydd. Dychwelodd hawlfraint y Dywysogaeth ar ei farwolaeth i Owain Tudur.

Gildiodd Rouen yn Ffrainc i Harri v. yn 1418; gan i Louis y Dauphin, a'i frawd Ioan feirw, a Siarl barhau mewn cyflwr o anhwyldeb meddwl, aeth yn ymrafael rhwng y Duc o Burgundy ac Iarll Armagnac am y llywodraeth, a dirgrynwyd Ffrainc ag aflywodraeth, plâ, a newyn. Ymddarostyngodd Gogleddbarth Ffrainc i Harri, yr hwn a briododd Catrin yn Troyes, pan y trosglwyddwyd iddo ef raglywiaeth bresenol a phenaduriaeth ddyfodol Ffrainc. Coronwyd Catrin yn Westminster, Chwefror 24ain, 1421. Ar y 6ed o Ragfyr, ganed iddi fab ac etifedd yn Windsor, sef yr anffodus Harri vi. Yr oedd Harri wedi gosod y gorchymynion caethaf ar Catrin i beidio gadael i'w etifedd gael ei eni yn Windsor, a phan ddygwyd y newydd iddo yng ngwarchäedigaeth Meaux, yn Ffrainc, dywedodd, "Bydded megys y mae Duw yn ewyllysio—ni bydd i mi a aned

ym Mynwy gael teyrnasu ond am ychydig flynyddoedd, ond eto fel goresgynydd llawer o daleithiau; ond bydd i'r bachgen hwn a aned yn Windsor deyrnasu yn hir a cholli y cyfan." Bu farw gorchfygwr Agincourt ar yr 31ain o Awst y flwyddyn ganlynol, 1422, o anhwyldeb angeuol a drechodd fedrusrwydd meddygol y dyddiau hyny. Cyflawnwyd defodau ei gladdedigaeth gan Catrin yn Llundain gyda gorwychder na welwyd y fath erioed o'r blaen, ac ar ol hyny gwnaeth ei thrigfa yng nghastell Windsor. Yma cyflwynwyd y baban frenin i ofal Owain Tudur, yr hwn oedd yn nodedig o ran cryfder a harddwch rhyfeddol ei ddynsawd. Aeth yn garwriaeth rhwng Catrin ac yntau, a phriodwyd hwy yn Windsor, yn Awst, 1428. Drwy y briodas hon cymysgwyd gwaed breninol Ffrainc â'r eiddo Cymru. Yr eppil ydoedd—y cyntaf, Edmund o Hadham (ei le genedigol,) iarll Richmond, tad Harri VII; yr ail, Jasper o Hatfield, iarll Penfro; y trydydd, Owain, yr hwn a fu farw mewn urddau eglwysig, a Margaret, yr hon a fu farw yn ei babandod. Ystyriai y pendefigion Saesonig, ac nid heb reswm ychwaith, fod cyfathrach briodasol etifedd Cymru â merch i un brenin, gweddw i ail frenin, a mam i drydydd brenin, yn llawn o gyfnewidiadau dargoelus o barth y goron a'r olyniaeth Frutanaidd. Ac ni leihawyd yr ofnau hyn yng ngwaith Edmund Hadham yn ymbriodi yn ei 19eg mlwydd gyda Margaret Beauford, unig blentyn teulu barwnaidd urddasol Somerset, ac ar ol Harri VI., etifeddes y freninlin a'r meddianau Lancastriaidd. Yr oedd pobpeth yn tueddu yn raddol ond yn ddigyfeiliorn tuag at adferiad yr orsedd Frutanaidd i'r hên linach Frutanaidd. Bu farw Catrin, ar ol byw naw mlynedd mewn mwynhâd tawel o serch ei gwr, yn y 35ain mlwydd o'i hoedran, ym mlodau harddwch gwreigaidd, Mehefin 3ydd, 1437, a chladdwyd hi gyda'r defodau arferol i'w sefyllfa oruchel.

Ar ei marwolaeth, gollyngodd y llywodraeth Saesonig ei ddigofaint yn ddiataliad yn erbyn Owain. Carcharwyd ef yn y Tŵr; ond drwy ddefnyddio ei alluoedd naturiol hynod, gorthrechodd y gwarchodlu ac ymruthrodd allan. Pan glywodd y brenin ei fod yn rhodio yn rhydd yn Daventry, efe a'i gwysiodd i ymddangos ger bron ei gynghor. Gomeddai Owain ymddangos oni chaffai "nawdd gwlad, rhydd i fyned, a rhydd i ddyfod." Caniatawyd hyn iddo ar air ac mewn ysgrifen, ac ar hyny efe a aeth i fyny i Lundain.

Gan glywed fod y brenin wedi derbyn cyhuddiadau trymion yn ei erbyn, ymddangosodd yn ddisymwth yn ystafell y presenoldeb, ac amddiffynodd ei hun gyda'r fath bwynt a gwrolaeth fel y rhoddodd Harri iddo ryddid diamodol. Eto er gwaethaf y gwystlair dyblyg, parodd Humphrey duc Caerloyw iddo gael ei gymeryd i fyny ar ei ffordd i Gymru, a'i draddodi i gastell Wallingford; ond pan ddeallwyd nad oedd y lle hwn yn ddigon cryf i'w ddyogelu, trosglwyddwyd ef eilwaith i'r Tŵr, ac effeithiodd ei ddiangfa eilwaith drwy "glwyfo ei geidwaid yn arw." Cyrhaeddodd ei etifeddiaethau ym Môn yn ddyogel; pennodwyd ef yn fuan wed'yn yn gastellwr y caerfëydd a'r parciau breninol ar gyffiniau Gwynedd, a rhoddwyd iddo dâl blynyddol gan Harri allan o'i gôd gyfrin. Am ugain mlynedd hyd yr amser yn union cyn brwydr Croes Mortimer, yn yr hon y cwympodd, Chwefror 2il, 1461, dylynodd Owain fywyd o ymneillduedd tawel ac anrhydeddus, y'nghanol arolygfëydd ei ieuengtyd.

Yn y cyfamser, priododd ei fab hynaf Edmund Tudur o Hadham, Margaret Beauford; ac ar ddydd y briodas urddwyd ef gan ei haner brawd Harri VI., yn Iarll Richmond, a rhoddwyd iddo hawl i gymeryd y flaenoriaeth ar holl bendefigion Lloegr. Urddwyd Jasper hefyd yn Iarll Penfro. Ganed i Margaret, yr hon nid oedd ond yn ei phymtheg mlwydd oed, fab ac etifedd, sef Harri Tudur, (Harri VII.) yng nghastell Penfro, Mehefin 26, 1456. Ym mhen pum mis ar ol hyny, bu farw Edmund Tudur, gan ei gadael yn weddw yn ei genethedd, gyda baban i'w fagu a'i amddiffyn, ynghanol holl erchyllderau terfysgoedd gwladol. Gosodwyd y plentyn dan warchodaeth ei ewythr Jasper, ac erioed ni chyflawnwyd ymddiriedolaeth gyda mwy o ddewrder, ffyddlondeb, a medrusrwydd. Yn ei drydedd flwydd o'i oedran cymerwyd y plentyn gan yr iarlles at ei ewythr breninol, Harri VI., yr hwn a'i bendithiodd yn ddifrifol, gan ddywedyd, "bydd i'r plentyn prydferth hwn wisgo mewn heddwch y goronbleth am yr hon yr ydym ni mewn modd gwydlawn yn ymrafaelio mewn rhyfel." Yna gosodwyd ef drachefn dan ofal Jasper yng nghastell Penfro. Pennodwyd Philip ap Hywel i warchod ei berson. Yr oedd Iorwerth IV. a Risiart III., y blaenaf o ba rai oedd hênach na Harri o ddeuddeg, a'r olaf o naw mlynedd, yn cael eu dwyn i fyny mewn addysg yr un amser, mewn rhan yng nghastell

Usc, hoff drigfa eu tad, Risiart duc Caer Efroc, ac mewn rhan yng nghastell Rhaglan, gan Syr Gwilym, wedi hyny Iarll Herbert. Ym mhen ychydig flynyddoedd ar ol hyny, derbyniodd Harri Tudur hefyd yng nghastell Rhaglan yr holl fanteision llenyddol a allai caredigrwydd y riain hael-galon hono, Anne Herbert, ac adnoddau llyfrgell Gymreig ysplenydd yr Ap Gwilymiaid ei gyfranu iddo. Y mae yn ddygwyddiad nid llai anghyffredin na boddâol fod fel hyn dri phenadur cydymgeisiol yn cael eu dwyn i fyny yn eu hieuengtyd dan yr un gronglwyd a chyda chydchwarydd-ion o'r un teulu. Oddiwrth y feithriniaeth hon o barth Ior-werth IV. y dechreuodd ymroddiad gwresog teulu Rhaglan at yr achos Caerefrogaidd—ac oddiwrth yr unrhyw feithrin-iaeth o barth Harri VII., y cododd ar farwolaeth Iorwerth a llofruddiaeth ei feibion diniwed, eu hymlyniad wrth eu hymnoddwr Lancastriaidd a'r achos a gynddrychiolai.

O barth nodwedd enwol y ffyddlondeb a delid gan Dde-heubarth Cymru a'i phenaethiaid galluog i'r goron Saes-onig yn yr amser hwn, mae yr engraifft ganlynol yn eglur-hâd hynod. Gan fod cyhuddiadau o deyrnfradwriaeth dybryd wedi eu rhoddi yn erbyn Syr Gruffydd Nicholas, anfonwyd Ynad y brenin gyda gosgorddlu cryf i wneuthur ymchwiliad iddynt ar y fan. Cyfarfyddwyd ef ar y cy-ffiniau gan fab ieuengaf Syr Gruffydd wrth ben 300 o wyr, ym mhellach ym mlaen gan ei ail fab wrth ben 500, ac yng Nghaerfyrddin gan Syr Gruffydd ei hunan wrth ben mil o wyr meirch. Cymerwyd ei grêdlythyrau oddi arno, a'r dydd canlynol cymerwyd ef mewn dalfa ar y frawdle gan y penaeth, traddodwyd ef i garchar, ac arbedwyd ei fywyd yn unig ar yr amod y byddai iddo ddyosg ei hun o'i urdd-wisgoedd barnol, gwisgo lifrai y penaeth yn eu lle, ac yn y wisg hon, fel "gwas Syr Gruffydd," wneuthur ei fynedfa i Lundain. Gan na welai un golwg arall i achub ei fy-wyd, cytunodd yr ynad â'r teleran, ac ni thybiodd ei hun yn ddyogel yng ngwyneb dygwyddiadau dyfodol nes yd-oedd wedi eu cyflawni i'r llythyren.

Holl oresgyniadau Harri V. yn Ffrainc, oddieithr Calais, a dynwyd oddiar y Saeson drwy ffyddlondeb a gwroldeb arwraidd Ioan o Arc, y Wyryf o Orleans. Ond hi a gwymp-odd i'w dwylaw o'r diwedd, ac i'w gwarth annileadwy llosgasant hi fel dewines, yn ei 20ed mlwydd oed, yn Rouen, o.c. 1431—yr hyn yn ddiamheu fuasai tynged

Glyndwr hefyd pe buasai wedi profi cyffelyb ddymchweliad, canys yn yr oesau hyny yr oedd crediniaeth pob gradd yn Lloegr yn ei allnoedd goruwchnaturiol yn orddwfn a gwireddol. Yr oedd anfoddlonrwydd y genedl o herwydd colli y Taleithiau Ffrengig yn ddirfawr, canys er mor anghyfiawn neu annoeth y gallasai rhyfel â Ffrainc fod, eto yr oedd bob amser yn boblogaidd. Yr oedd holloll anghymhwysder Harri i lywodraethu wedi troi llygaid pawb ar Risiart Duc Caer Efroc, a rhaglaw Iwerddon. Ffurfiwyd plaid gref, a elwid y blaid Gaerefrogaidd, er ei ddyrchafu i'r orsedd. Cymerasant y rhosyn gwyn fel eu nodeb—a chymerodd y blaid Gaerweryddol, neu blaid Harri, y rhosyn côch. Hanes rhyfeloedd y rhosynau yw y gyfran dywyllaf braidd o Hanesiaeth Saesonig. Y mae gweithrediadau a fu o'u blaen o ran amser bymtheg cant neu un cant ar ddeg o flynyddoedd, megys rhyfelgyrchoedd Caisar, Gwrthefyr, neu Cadwaladr, wedi dyfod i lawr i'n hamser ni yn eglurach, ac wedi eu darlunio yn fwy dylynol. A ganlyn sydd grynodeb o'u brwydrau. Cododd duc Caer Efroc ynghydag Ieirll yr Amwythig a Chaer Guoric fyddin o 34,000 o wyr, ac ymdeithiodd o Ludlow i Blackheath, lle y cyfarfyddwyd ef gan y lluoedd Caerweryddol. Ond yn ffodus ataliwyd i frwydr gymeryd lle drwy i'r Brenin ymrwymo i unioni pob cam, a derbyn duc Caer Efroc i'w gynghor. Nid cynt, beth bynag, nag y gwasgarwyd y fyddin Gaerefrogaidd y cymerwyd y Duc mewn dalfa fel bradwr, ac yr anfonwyd ef i'r Tŵr. Ond rhyddhawyd ef ar dderbyniad hysbysrwydd fod Iorwerth ieuanc, Iarll March, ei fab a'i etifedd, yn ymdeithio ymlaen o Gymru i ddial ei garchariad. Enciliodd duc Caer Efroc i'w gastell yn Wigmore. Yma y perffeithiodd ei fesurau mor fedrus fel ag yr anfonwyd ei elyn mawr Somerset i'r Tŵr, ac y galwyd ef ei hun ymlaen fel amddiffynwr y deyrnas. Gan fod y Brenin wedi cael ei daro (o.c. 1453) gan balliant meddwl, rhyddhawyd Somerset yn ei dro, gan y frenines, Margaret o Anjou. Ar hyny enciliodd duc Caer Efroc, Norfolk, Warwick y teyrn-wneuthurwr, a Salisbury i Ludlow, a chan godi y cyffinwyr Mortimeraidd, sef Saeson Cymreig celyd, cynefinol â rhyfel, ymdeithiasant i Loegr a dymchwelasant Harri yn hollol, a chymerasant ef yn garcharor ym mrwydr gyntaf St. Albans, Mai 22ain, 1455. Cwympodd Somerset ar faes y gâd, ac am y flwyddyn ddylynol lly-

wodraethodd duc Caer Efroc y deyrnas fel amddiffynwr. Gan i'r brenin y pryd hyny ddyfod i ail-feddiant o'i gynneddfau, hawliodd adferiad o'i deyrnfreintiau, ac wedi iddo eu cael gan dduc Caer Efroc, cymerodd adheddychiad le, yr hwn a fawrygwyd â gorymdaith drwy Lundain, Mawrth 25ain, 1457. Torodd anghytundeb allan yn fuan drachefn, ac ar y 23ain o Fedi, 1459, ymladdwyd brwydr Blore-heath yn agos i Market Drayton, yn swydd yr Amwythig, yn yr hon y gorchfygwyd y Caerweryddiaid, pan gwympodd Iago Touchet arglwydd Audley drwy law Roger Kynaston o Hordley. Cymerwyd y maes gan fyddin Lancastriaidd arall o dan lyw Harri yn Ludford, yn agos i Ludlow. Gan i Syr Andrew Trollop, cad-flaenor rhyw gatrodau Caerefrogaidd profedig a ddygwyd drosodd yn ddiweddar o Calais encilio ato ef, gorfodwyd duc Caer Efroc, Iarll March, a Warwick i ffoi o'r deyrnas. Còdwyd lluoedd newyddion ganddynt a gorchfygasant y Caerweryddiaid yn hollol yn Northampton, a gadawyd Harri yn eu dwylaw (Gorphenaf 12ed, 1460). Yr oedd Iarll March yn y cyfamser yn Ninbych. Glàniodd Jasper Tudur yng nghulfor Menai, a thrwy ymsymudiad cyflym bu agos iddo gymeryd yr Iarll yn garcharor yng nghastell Dinbych. Diangodd yn gyntaf i'r Amwythig, ac yna i Ludlow—pe buasai ef wedi syrthio i ddwylaw Jasper, "debellatum esset," megys y sylwa Leland, buasai y rhyfel drosodd ag un dyrnod. Ar dderbyniad hysbysrwydd o hynt filwraidd Jasper, ymdeithiodd Syr Gwilym o Raglan a'i frawd Risiart tua'r gogledd. Cyfarfyddodd Jasper hwynt ar lànau yr Alun, a gorchfygwyd ef. Enciliodd gyda medrusrwydd mawr at gulfor Menai, taflodd warchlu dan lywyddiaeth Syr Dafydd ap Einion a Reynallt o'r Tŵr, i mewn i gastell Harlech, dychwelodd yn ol at afon Mers a dygodd Margaret a'i mab Iorwerth i'r castell. Efe a aeth oddiyno i ogledd Lloegr, cynullodd ynghŷd yr ymbleidwyr Caerweryddol, môrdwyodd drachefn i Harlech, cymerodd Margaret ac Iorwerth ar fwrdd y llong, ac ar yr 31ain o Ragfyr 1460, mewn undeb â'r cadflaenoriaid Caerweryddol eraill, gorchfygodd a lladdodd y Duc Caer Efroc yn Wakefield Green, islaw castell Sandal, yn swydd Caer Efroc. Heb golli un diwrnod gwnaeth Jasper ei ffordd i Gymru, a chan osod ei hun gyda'i dad, Owain Tudur, wrth ben eu hymlynwyr, ymdeithiodd i gyfarfod Iorwerth ieuanc, yr hwn yn awr

drwy farwolaeth ei dad oedd Duc Caer Efroc. Llywyddid byddin Iorwerth dan ei awdurdod ef gan Syr Gruffydd ap Nicholas a Syr Gwilym ap Gwilym o Raglan. Cymerodd y frwydr le yng Nghroes Mortimer, yn swydd Henffordd, Chwef. 2il, 1461, ac ymladdwyd hi gyda dewrder ac ystyfnigrwydd cyfartal ar bob ochr. Dywedid fod tri haul wedi ymddangos ym moreu y frwydr, a chan ddynesu at eu gilydd, iddynt ymuno yn union goruwch yr orwel Ddwyreiniol—yna cymerodd Iorwerth "yr haul yn codi" fel ei nodeb—yr hwn a arfaethid i ddiflanu a machludo yn fuan ger bron seren mwy ffodus a dysglaer. Gorchfygwyd Jasper gyda cholled o bedair mil o laddedigion, ond dygodd ym mlaen ei enciliad i Ddeheubarth Cymru gyda'i bwyll a'i fedrusrwydd arferol. Nid allai unrhyw ddarbwylliadau beth bynag dueddu ei dad Owain Tudur i syflyd cam yn ol—gomeddodd (medd Stow) gydag ystyfnigrwydd "gwir Gymröaidd adael maes y gâd." Ond gorthrechwyd y gwron oedranus ag oedd yn awr yn ei 70ain mlwydd oed, dygwyd ef ger bron Iorwerth, ac mewn addaliad am farwolaeth ei dad a'i frawd yn Wakefield, dihenyddiwyd ef bore dranoeth yn y farchnadle, yn Henffordd. Syr Gruffydd ap Nicholas oedd y prif ddyn a laddwyd ar yr ochr Gaerefrogaidd. Yr oedd Margaret yn y cyfamser wedi cael ail fuddugoliaeth—ail frwydr St. Albans ar y Caerefrogiaid, Ionawr 27ain, 1461; ond ar waith Iorwerth yn dynesu at Lundain ac yn cael ei dderbyn gyda banllefau gan y dineswyr hi enciliodd yn ol i'r gogledd, cadarnle y blaid Lancastriaidd. Coronwyd Iorwerth dan y titl Iorwerth IV. yn Westminster, Mawrth 4ydd, 1461, yn ei ugeinfed mlwydd oed. Yr oedd Harri Tudur y pryd hyny yn ei ddeuddegfed mlwydd. Syr Gwilym Herbert a Risiart gan gario ym mläen y fuddugoliaeth a gafwyd yng Nghroes Mortimer, a warchaëasant ac a gymerasant, yn ystod absenoldeb Jasper, gastell Penfro drwy ruthr. Cwympodd Harri ieuanc a gwarcheidwad ei gorph, Philip ap Hywel, i'w dwylaw. Symudwyd hwynt i gastell Rhaglan, ac am y tair blynedd dylynol arosodd Harri yno i gartrefu gyda y riain Anne Herbert a'i theulu, tuag at un o ba rai, sef Maud Herbert, y crewyd ynddo serchymlyniad mabinaidd yr hwn ni ddarfu nac alltudaeth na'i ddyrchafiad i'r orsedd ei ddiddymu. Ar ol cymeryd castell Penfro ymunodd Syr Gwilym ag Iorwerth yn Llundain, a bu yn gyn-

orthwy nodedig ym muddugoliaeth fawr a gwaedlyd Touton, yn agos i Gaer Efroc, ym mha un y cwympodd 28,000 o Gaerweryddiaid a 13,000 o Gaerefrogiaid. Ni roddid arbediad gan y naill blaid na'r llall. Yn Hexham (Mai 15ed, 1463,) profodd yr ëofn ond anffodus Margaret ddymchweliad arall. Daliwyd y Brenin Harri a charcharwyd ef yn y Tŵr. O'r dyddiad hwn hyd o.c. 1470, yr oedd Iorwerth yn feistr hollol ar yr holl deyrnas, oddieithr tair o gaerfëydd, o ba rai castell Harlech oedd y gaerfa fwyaf arswydus. O'r diwedd gorchymynodd Iorwerth i Syr Gwilym Herbert a Risiart ei chymeryd er gwaethaf pob colled. Eu hymdaith i'r dyben hwn drwy gulffyrdd a glynoedd Gwynedd, un o'r gwledydd cadarnaf yn y byd, ac ym meddiant ymbleidwyr dewraidd a bywiog Jasper Tudur, yw un o'r myfyrion gwychaf o fedrusrwydd ac ymröad milwrol ar gof a chadw. Ar ol deunaw mis o amddiffyniad gwiwgof rhoddodd Dafydd ap Einion a'r gwarchlu eu hunain i fyny ar deleran anrhydeddus i'r ddau frawd. Yn dâl am eu haml wasanaeth pwysig i'w deulu, urddwyd Syr Gwilym gan Iorwerth (Mai 27ain, 1469,) yn Iarll Penfro, (yr oedd Jasper Tudur wedi ei ddyfarnu yn euog o deyrnfradwriaeth, a'i holl urddenwau gwedi eu fforffedu gan y blaid Gaerefrogaidd) a Risiart yn warcheidwad castell Trefaldwyn a chyffiniau Ludlow. Yn o.c. 1467 gan fod Risiart Neville, y teyrnwneuthurwr, Iarll Caer Guoric, wedi ei anfoddloni o herwydd gwaith Iorwerth yn priodi un o'i ddeiliaid, sef Elizabeth Woodville—yr engraifft gyntaf er amser y goresgyniad, efe a ymneillduodd oddiwrth yr achos Caerefrogaidd gan droi yn Gaerweryddiad. Yn ol ei annogiad ef darfu Syr Risiart Conyers, a adnabyddid yn gyffredin dan yr enw Robin o Rydesdale, milwr galluog a phrofedig, godi y Gogledd dan arfau a myned ar ymdaith tua'r Deheu i'r dyben o ymuno â Warwick yn agos i Lundain. Er atal hyn, gorchymynodd Iorwerth i'r ddau Herbert fyned ar ymdaith yn ddioed i ganolbarth Lloegr, yr hyn yn ganlynol a wnaethant gyda 18,000 o wyr, sef deiliaid oedd ganddynt ar eu hetifeddiaethau eu hunain yn Esyllwg. Daethant ar draws y fyddin Ogleddol ar y rhan hyny o iâldir Edgecott, yn agos i Banbury, a adnabyddir dan yr enw Danesmore. Mewn ysgarmes cymerwyd Harri Neville, nai ac etifedd Warwick, yn garcharor. Cynygiwyd pridwerth dirfawr gan Conyers am ei fywyd, ond gwrthodwyd ef gan

odd, ie yn argyfwng y frwydr, wneuthur rhuthr ar y gelyn. Holltwyd penglog y bradwr yn ddau gan Somerset, ond yr oedd yr amryfusedd yn anadferadwy, a dyoddefodd y Caerweryddiaid orchfygiad terfynol. Lladdwyd Somerset,—cymerwyd Iorwerth ieuanc yn garcharor, a thrywanwyd ef i'w galon yn ei 18ed mlwydd o'i oedran, ym mhresenoldeb Iorwerth IV., gan Risiart Duc Caerloyw a'i ddyhirwyr. Dirgel-lofruddiwyd Harri VI. gan yr un llaw anarbedus ym mhen ychydig ddyddiau wedi hyny yn y Tŵr.

Yr oedd unig obaith y blaid Gaerweryddol yn gorphwys yn awr ar Harri Tudur, yr hwn drwy farwolaethau Harri VI., Iorwerth, ei fab, a Somerset, oedd wedi dyfod yn unig etifedd teuluoedd Caer Efroc, Henffordd, a Somerset. Ac yn hawlfraint ei dad yr oedd hefyd yn etifedd y Dywysogaeth Gymreig. Yr oedd Iorwert VI., disgynydd o Llewelyn Fawr a Gwladys Ddu, eisoes mewn meddiant hollol o'r orsedd Frutanaidd—er hyny effeithiodd y ffaith fod Harri Tudur wedi dyfod yn awr yn etifedd cyfnesaf y goron ar yr ochr Gaerweryddol gyfnewidiad mawr tuag ato ef ym meddyliau ei holl gydwladwyr, y rhai oeddynt hyd yn hyn wedi ymladd mor ystyfnig a llwyddianus er cefnogiad yr achos Caerweryddol. Yr oedd y cyfnewidiad yn berffaith, a chyda dim ond un eithriad, taflwyd ymaith y rhosyn gwyn gan bob Caerefrogiad yng Nghymru ar ddirgel-lofruddiaeth echryslawn y ddau dywysog ieuanc, Iorwerth V., a'i frawd, yn y Tŵr, gan eu hewythr Risiart III., o.c. 1483.

Dechreuodd Jasper a Harri Tudur, ar ol bod ddwywaith yn garcharorion yn Vannes a chastell Elven, yn Llydaw, a diangc mwy nag unwaith rhag ystrywiau cydfradwyr, ymbarotoi i gydsynio â dymuniadau eu cydwladwyr, ac ymladd am y goron. Dechreuwyd ymohebu trwy gyfrwng Risiart Kyffin, Deon Bangor, a Hugh Conwy, â holl deuluoedd grymus y Dywysogaeth. Ni wnaeth cyfodiad y seren niweidiol Buckingham, a ddyryswyd mewn rhan gan ryferthwy yr Hafren, (o.c 1483,) ond yn fwy felly gan ei orfrys ei hun a diffyg cydymdrech, ond yn unig wasanaethu er gwneyd y darpariadau hyn yn fwy perffaith ac effeithiol. Mynegodd Ifan Morgan, penaeth Tredegar, i benaeth yr ymsymudiad yn Neheubarth Cymru, sef Syr Rhys ap Thomas, y byddai i Harri fordwyo i Aberdaugleddau gyda'r gwynt ffafriol cyntaf, yr hyn yn ganlynol a wnaeth, a glàniodd yn *Dale Point*, Awst 10ed, 1485. Ymunodd Syr Rhys

ag ef yn ddioed gyda lluoedd milwrol y tair swydd oeddynt wrth ei orchymyn—sef swyddi Aberteifi, Caerfyrddin, a Phenfro. Derbyniodd yng Nghastell Ceryw sicrhâd o gefnogaeth oddiwrth swyddi presenol Mynwy, Morganwg, a Brycheiniog, y rhai y pryd hyny oeddynt diriogaethau teuluoedd Rhaglan, Tretower, a'u perthynasau. Aeth Harri o gastell Ceryw ym mlaen drwy swydd Aberteifi a chanolbarth Cymru, gan dderbyn cyfnerthoedd o'r newydd ym mhobman, tua'r Amwythig. Ymdeithiodd Syr Rhys ar y llaw arall i Ddeheubarth Cymru i Frycheiniog, gan roddi cyfleusdra i'r Herbertiaid, y Fychaniaid, y Gamiaid, ac i arddylynwyr dylanwadol eraill, uno ag ef. Adolygwyd y lluoedd milwraidd ym Mrycheiniog, ac allan o'r cyfan o honynt detholwyd pedair mil o bigion gwyr i fyned ar ymdaith i Loegr. Y lleill ynghyda haner y ddwy fil a ddaethant i ganlyn Richmond a wersyllent mewn sefyllfäoedd cryfion ar hyd y cyffiniau o Gaer Went i'r Amwythig. Yr oedd baner y Ddraig Gôch yn ddyrchafedig ar bob bryn amlwg—derbynid Jasper Tudur ym mhobman, a llongyferchid ef â'r fanllef "tydi o leiaf a gymeraist ofal ardderchog am dy nai,"—mewn cyfeiriad at y dirgel-lofruddiaethau diweddar yn y Tŵr; ac efe a ymunodd â Syr Rhys gyda lluoedd Gogledd Cymru, oll fel eu brodyr o'r Deheubarth, yn bigion gwyr, ar Gefn Digoll, neu y Mynydd Hir, a fu yn olygfa y fath gynifer o frwydrau a ymladdwyd mewn amddiffyniad i ryddfreiniau Cymru. Yr oedd y gormesdeyrn eiddigus ond galluog ac anhyblyg a lanwai yr orsedd, sef Risiart III., wedi cynnull ynghyd ddeunaw mil o filwyr, gwroniaid deuddeg càd ar faes, ac yn ymsymud drwy ymdeithiau araf tua Chaer Wenbyr, (Coventry). Yr oedd ei wyr meirch yn rhengcio fel y rhai gwychaf a mwyaf arswydus yn Ewrop. Ar ol ychydig betrusder taflodd yr Amwythig ei phyrth yn agored i Harri, a'r fyddin Gymreig gyda phenderfyniad rhagorol a gyfeiriodd ar unwaith, megys y gwnaethai yn yr achos Caerefrogaidd dan Iarll Penfro, i ganolbarth Lloegr. Gan dderbyn ymostyngiad Caerdryw a Litchfield, gwersyllodd ar faes Bosworth, yn swydd Caer Llŷr, ar brydnawn Awst 20ed, 1485. Yr oedd ymdaith y fyddin Gymreig wedi bod o'r bron ar ei phen ei hun, canys yr unig luoedd Saesonig ag oeddynt wedi ymuno â hi ydoedd 2,200 o wyr dan lyw Syr Gilbert Talbot a Syr Risiart Corbet o'r Amwythig. Yr oedd hyn yn ymddangos

fel pe wedi ei ragdrefnu yn neillduol na fyddai neb ond yr hên genedl yn flaenoriaid yn y gwaith o adferu ar faes y frwydr, ag oedd i derfynu rhyfeloedd mil o flynyddoedd (o.c. 449—1485,) y goron a'r olyniaeth Frutanaidd i'r hên linach.

O fewn pum milldir i Bosworth, yr oedd Arglwydd Stanley, yr hwn oedd wedi priodi Iarlles Richmond, mam Harri, wedi trefnu ei ganlynyddion, y rhai oeddynt dair mil mewn rhifedi. Nid allai unrhyw ddeisyfiadau o eiddo yr Iarlles ei dueddu ef i ddatgan ei hun yn gyhoeddus yn ffafr Harri, neu uno ei luoedd â'r eiddo ef. Yr oedd ymweliad Harri ag ef yn nyfnder y nôs yr un mor ofer—y cyfan a allai gael ganddo oedd addewidion, oddiwrth ba rai y meddylid mewn effaith y byddai iddo ef yn ymladdfa y dydd canlynol ymuno â'r blaid hono a welai efe yn debyg o gael y fuddugoliaeth. Pynoriodd Harri ei gefnogwyr Cymreig cyhoeddus â chymwynasau, ond ni faddeuodd byth yr anwadalwch cachgïaidd hwn, a gorfu i Stanley yn y diwedd roddi ei ben yn iawn am hyny.

Yr oedd athrylith filwrol a gwroniaeth personol yn rhan o natur y penaduriaid Plantagenetaidd. Yr oedd Risiart fel ei frawd Iorwerth ym meddu y ddeubeth hyn mewn gradd oruchel. Aeth i mewn i Gaer Llŷr uwch ben ei feirchfilwyr rhagorwych ar yr un awr ag yr oedd Harri yn gosod i fyny ei babellau ym Mosworth. Marchogai ar gadfarch gwyn ardderchog, a gwisgai yr un arfogaeth ddysglaer o ddur ag a wisgai yn Tewkesbury. Ni cherid ef, ond ni bu erioed benadur mor ieuanc a ofnid gymaint—yr oedd yn ei 33ain mlwydd oed. Os ar un llaw nid allai ymddiried i neb ond y gwroniaid celyd ag oeddynt wedi dylyn tyngedion ei deulu am ugain mlynedd, eto, ar y llaw arall ni feiddiodd un pendefig gyhoeddi ei hun yn ffafr ei gydymgeisiwr neu chwanegu gwr at ei faner. Eglurwyd tymer afrywiog y brenin drwy ddygwyddiad a gymerodd le y noson hono. Pan yn myned oddi amgylch gyda Norfolk a Catesby, gwelodd wyliedydd yn cysgu, a thrywanodd ef yn ddioed â'i fidog,—"Cefais ef yn ei gwsg, ac yr wyf yn ei adael felly," oedd y sylw a wnaeth, dan fyned yn ei flaen. Nis gallai unrhyw wag-siarad, rhithesgus, neu amwysedd, wneyd y tro gyda'r fath ddyn.

Fel yr oedd yr haul yn codi yn y bore, craffai Risiart ar res hir o alluoedd Cymreig fu unwaith yn gysegrol i'w

achos, wedi ymdrefnu yn ei erbyn. Nid oedd mewn gwirionedd ond un penaeth Cymreig wedi glynu wrth ei dyngedion. Marchogai hwnw wrth ei ystlys ef. Gan alw oddiar ei farch am gwpanaid o win efe a drôdd ato ac a'i hyfodd i fyny, gan lefain, "Dyma iechyd da i ti, ap Hywel o Goedmore, yr unig Gymro nad enciliodd oddiwrth ei benadur a rhosyn Caer Efroc." Pan welodd faner y Ddraig Gôch wedi ei dyrchafu yng nghanolbarth rhengc Harri, sisialodd wrtho ei hun, "Rouge Mont—Richmond —Rouge Dragon," ac yna ychwanegodd yn uchel, "Clywais y bydd i'r Ddraig Gôch larpio y Baedd, (ei arwydd ei hun) ond myn St. Sior o Loegr, byddaf fyw yn frenin neu farw yn frenin heddyw." Yr oedd ei drefniadau wedi eu gwneuthur gyda medrusrwydd mawr, a chan ei fod yn llywyddu 21,000 o filwyr yn erbyn y 12,500 o eiddo ei wrthwynebydd, yr oedd yn alluog i'w gorchuddio hwynt ag un o'i asgelloedd. Ond gwelodd yn Jasper Tudur gadfridog cyfartal iddo ei hun mewn byddiniaeth ac ymarferiad. Dywedir fod Harri a Risiart gwedi anerch bob un ei fyddin neillduol. Gwisgai yr olaf ei goron fel torch ar ei helm, a'r blaenaf benffestin dûr gyda'r Llew—helm-addurn Llewelyn, ar y talcen. Dechreuodd y frwydr am naw o'r gloch y bore, ar yr un munud ar hyd yr holl linell, a dygwyd hi ymlaen gyda ffyrnigrwydd am awr a hanner heb i'r naill blaid na'r llall ennill un fantais ar eu gilydd. Cwympodd y pryd hyny y Duc Norfolk a llawer o'r prif swyddogion Caerefrogaidd, a gorfododd Jasper Tudur i un adran o fyddin Risiart roddi ffordd—rhuthrodd Risiart a'i feirchfilwyr ddwywaith i ganol y llinellau Cymreig, ond methasant dori y fyddinres anhydraidd o waywffyn ag oedd yno i'w gwrthwynebu. Pan welodd Stanley hwynt yn cael eu hyrddio yn ol eilwaith, cyhoeddodd ei hun yn ffafr Richmond, ac aeth i lawr i ymosod ar ystlys y fyddin Gaerefrogaidd. Nid allai dim yn awr ond marwolaeth ei gydymgeisiwr adennill y dydd, a Risiart gan wysio ei wyr goreu i ddyfod o'i ddeutu a ruthrodd y drydedd waith, gan ddolefain ei ryfelwaedd, "St. Sior, St. Sior" i ganol yr ymladdfa ag oedd o amgylch y Ddraig Gôch, dan ba un yr oedd Harri wedi cymeryd ei safle. Cwympodd Syr Gwilym Brandon ac Arglwydd Strafford dan ei ddwylaw ac yr oedd wedi gafael ym mhawl y faner, ac ar fyned ynghyd â Richmond pan darawyd ef i'r llawr gan gadfwyell Syr Rhys ap

Thomas, a chyn y gallai adferu o effeithiau y dyrnod, gorphenwyd ef drwy archollion aneirif. Codwyd i fyny ei helm-goron yn ddioed o'r berth i ba un y tarawyd hi gan greulondeb y dyrnod, a gosodwyd hi gan yr un llaw ar ben Harri Tudur. Cyn gynted ag y gwelwyd hi yno, ac y cyhoeddwyd marwolaeth Risiart drwy fanllefau y gorchfygwyr, rhoddodd y Caerefrogiaid y maes i fyny a ffoisant. Ymlidiwyd ar eu hol am bedair milldir, ac yr oedd y golled yn hyny yn unig o eiddo y blaid orchfygedig uwchlaw yr hyn a ddygwyddodd yn y rhyfel dros 4,000 o wyr.

Fel hyn y cwympodd y brenin Plantagenetaidd diweddaf; ac fel hyn ar faes Bosworth, y drydedd-a'r-ddeg a'r olaf o frwydrau y Rhosynau cydymgeisiol, y trosglwyddwyd coron Normanaidd Lloegr, drwy ddwylaw Cymreig, i'r freninlin Duduraidd, ac yr adferwyd Unbenaeth Prydain i'r hên hiliogaeth Frutanaidd. O'r pryd hwn, calon danbaid Cymru, gan fod ei hanrhydedd wedi ei foddloni, a'i holl uchel-geisiadau, testynau a tharddellau cymaint o broffwydoliaethau, wedi eu cyflawni i'r llythyren, a ymlonyddodd i dawelwch; ond i wrthbwyso y manteision o undeb a chydraddiad â Lloegr collodd Cymru o hyny allan i radd fawr ei bodolaeth wahanredol—ei gogoneddusach hunanaeth flaenorol. Anfona allan o'i thir neu o'i gwaed Harriaid, Elizabethiaid, Raleighiaid, Ceciliaid, Essexiaid, Miltoniaid, Cromweliaid, Wellingtoniaid, Pictoniaid, a Nottiaid; ond gwladgarwyr a gwladweinyddion ymherodrol ydynt hwy, nid tywysogion Cymreig. Mae'n rhoddi llywyddion i'r Byd Newydd, ond y mae hên argraff ei hiliogaeth wedi ei dileu a'i bwrw o newydd mewn mold ddiweddar a gweriniaethol. Mae y gwir wron Cymreig yn diflanu oddiar yr esgynlawr hanesiol pan y mae ei waith wedi ei orphen, a chrêd ei hên wladogion yn derbyn ei choron ar Faes Bosworth.

Yma terfyna hanesiaeth Cymry Prydain yn eu cymeriad gwahanredol; a gallwn herio brutiau cenedloedd i ddwyn ymlaen restreb o wroniaid mor hir neu wedi ei hynodi gymaint gan brif brydweddau marchwriaeth a gwladgarwch ag a amlygir yn nhudalenau eu hanesiaeth o'r amser y daethant i wrthdarawiad â'r Caisar Rhufeinig ar draeth Walmer nes y dymchwelasant ac y difeddianasant y freninlin Normanaidd o'r orsedd Frutanaidd. Ymffrostia gwledydd eraill mewn pencampwyr unigol dros ryddid,

ond cyfrifa y Cymry yr eiddynt hwy drwy genedlaethau, o Gaswallon a Charadoc, i Arthur a Chadwallon, i Llewelyn, a Glyndwr.

Canlyniad diweddaf y rhyfeloedd lluosog rhwng y Cymry a'r Normaniaid Saesonig oedd hyn: yn lle gosod Tywysog Normanaidd ar yr orsedd Gymreig, gosodwyd y freninlin Gymreig ar yr orsedd Normanaidd. Goresgyniad Cymreig Lloegr—yr hwn oedd y pumed a'r olaf, a gymerodd le Awst 21ain, 1485. Y pedwar blaenorol iddo oeddynt—y meddianiad Rhufeinig, yr hwn os oedd yn oresgyniad, ydoedd felly drwy gytundeb, nid gorthrech, o.c. 120—y Saesonig, o.c. 688—y Danaidd, o.c. 1012—a'r Normanaidd, o.c. 1066.

Coronwyd Harri Tudur Hydref, 1485, yn Westminster. Mae cyfnod y Canol Oesau yn diweddu gyda'i ddyrchafiad ef i'r orsedd, a threfn newydd ar bethau yn cynnwys elfenau cyfundrefn gymdeithasol a gwleidyddol Ewrop yn dechreu.

---

## Y CYFNOD TUDURAIDD

Hònnodd Harri VII. hawl i'r orsedd drwy waedoliaeth, etholiad, a goresgyniad. Ni buasai y seiliau cyntaf a'r ail heb yr olaf ond o ychydig wasanaeth iddo. Drwy ei briodas ag Elizabeth, merch hênaf Iorwerth IV., trosglwyddodd i'w blant hawliau unol teuluoedd Caer Efroc a Chaerwerydd i'r goron O ganlyniad galluogwyd Harri VIII. ac Elizabeth gan ddilysrwydd eu sefyllfa i lywodraethu pob dosbarth o'u deiliaid gydag awdurdod orthrymus. Yr oedd y nifer mwyaf o'r hên bendefigion Normanaidd wedi trengu yn y rhyfeloedd diweddar—a chyfododd pendefigaeth newydd, yn cyfranogi mwy o deithi y Llyswr na'r Barwn, wedi ei gwaddoli yn benaf nid gyda'r hên etifeddiaethau gwriogaethol, ond gyda'r yspail oddiar y tlawd a'r amrywiol dai crefyddol yn amser y Diwygiad. Edrychid ar y cyfryw o'r pendefigion Normanaidd ag oeddynt eto yn oroesol mewn meddiant o'u tiroedd a'u dylanwad gan y penaduriaid Tuduraidd gyda golwg eiddigus, a chan mwy-

af dygid hwy i farwolaeth ar y blocyn. Dirwyid eraill yn drwm a gorfodid hwy i werthu eu hetifeddiaethau a'u castelli treftadol. Gellir galw y Tuduriaid yn sylfaenwyr dosbarthau canolog Lloegr—gan fod eu holl arlywiad fel eiddo Caisariaid Rhufain yn cyfeirio at ddyrchafiad y werin-iaeth, a darostyngiad awdurdod y bendefigaeth. Gan hyny, er gwaethaf llawer o weithredoedd o greulondeb ac anghyfiawnder, yr oeddynt hwy—gyda yr eithriad o Mair—yn dra phoblogaidd; gan fod y cyffredin yn eu hystyried fel eu cynddrychiolwyr a'u pencampwyr hwy yn erbyn y canoedd o ormeswyr pendefigol ag oeddynt gynt yn eu gorthrymu. Gan fod hanesiaeth Cymru er amser dyrchafiad y Tuduriaid i'r orsedd yn un â'r eiddo Lloegr, bydd ein sylwadau ar y cyfnod hwn a'r un canlynol yn dra byr.

Llawer mil o Gymry, pa rai a ddylynasant dyngedion Harri Tudur, a ymsefydlasant yn arosol yn Lloegr; yr oedd gwyr ymhlith eu heppil a gyrhaeddasant y graddau urddasol uchaf yn yr eglwys, y llywodraeth, ac mewn llenyddiaeth—megys y Ceciliaid, Raleigh, Williams, Cromwel, Milton, &c. Mae cyflenwad anyspeidiol o waed Cymreig wedi parhau i redeg er y pryd hyny i Loegr, ac y mae'n debyg fod y Cymry Saesonig y munud hwn, ar dueddau dwyreiniol yr Hafren, deirgwaith mor luosog ag yw Cymry Cymru. Gellir barnu i ba helaethder y mae poblogaeth Lloegr wedi ei Chymröeiddio oddiwrth y ffaith a wnaed yn wybyddus drwy hysbysebau y Cofrestwr cyffredinol, fod y cyfenwau Jones, Davies, a Williams, yn ffurfio cyfanrif o deuluoedd lluosocach nac eiddo unrhyw dri enw Saesonig.

Er amser esgyniad Harri VII. i'r orsedd gellir dyddio cyfnewidiad rhyfedd yn nhueddiadau milwraidd y Cymry. "Hyd nes y gosododd ein hiliogaeth eu hên âch ar yr orsedd," sylwa Syr Ioan Prys, "nid oedd dim tawelwch nac iddynt hwy eu hunain nac i'r Saeson; ond er y pryd hwnw y maent wedi ymwrthod â Mars am Minerva, a thrwy ryw ffugfferylliaeth ryfedd wedi troi eu cleddyfau yn scrifbinau." Cludodd y Cymry gyda hwynt i Loegr hefyd ystôrau o'u hen gyfreithiau, eu traddodiadau, a'u defodau, yn llawn o yspryd rhyddid a gwrthwynebiad i Rufain. Treiddiodd y rhai hyn yn ebrwydd drwy yr holl feddwl gwladwriaethol, gan roddi iddo y dôn Frutanaidd iach *hono a gadwodd* fyth er y pryd hwnw. Nid oedd adfer-

iad y freninlin Frutanaidd i'r orsedd ond y cam cyntaf i adferiad egwyddorion Brutanaidd yn yr eglwys a'r llywodraeth.

Pennodwyd Syr Rhys ap Thomas gan Harri yn ynad a phrif lywodraethwr Deheubarth Cymru. Fel hyn ar ol treigliad wyth gant o flynyddoedd, yr ydym yn cael nid yn unig yr un linach freninol ar orsedd yr Ynys, ond teulu yr un Urien Rheged yn llywodraethu danynt yn eu tywysogaeth dreftadol Dynefawr. Mae y Normaniaid megys y Rhufeiniaid o'u blaen yn diflanu yn awr oddiar yr olygfa hanesiol.

Rhoddwyd wyres Gwilym, Iarll Penfro, ac unig etifeddes ei feddianau dirfawr, gan Harri yn wraig briod i'w gâr, Siarl Beaufort Iarll Somerset. O'r undeb hwn y disgyna Duciaid presenol Beaufort, y rhai a gynrychiolant ail gangen y Tywysogion Urienaidd. Mègys y mae urddenw y Prif Gadfridog diweddar yn y Crimea, enw hen drigfa Gymreig y teulu, sef Raglan, yn awr yn dra hysbys i'r holl fyd; nid ychydig ryfeddod yw fod arweinydd y rhyfelgyrch Brutanaidd i grŷd y Cymry yn y Dwyrain, ei hun yn ddisgynydd llinachol o'r Cymry Crimëaidd a boblogasant Brydain gyntaf.

Bu Syr Rhys ap Thomas yn gynorthwy yn nymchwel-iad gwrthryfeloedd Lambert Simnel a Parkin Warbeck. Gwnaeth wasanaeth da wrth ben corff o feirchfilwyr Saesonig ym mrwydr Stoke, Mehefin 6, 1487, yn yr hon y cymerwyd y twyllwr blaenaf yn garcharor. Ym mrwydr Blackheath, yr hon a derfynodd hawlhòniadau Warbeck, llywyddai Syr Rhys bymtheg cant o frodorion y Deheubarth, lladdwyd dau farch dano ef, a lladdodd arglwydd Audley, arweinydd dewraidd y terfysgwyr, mewn ymladdfa law-law. Urddwyd ef fel ei gyndad Syr Dafydd, yn gâdfarchog ar y maes, o dan blygion banerau dyblyg y Ddraig Gôch a St. Sior, gwnaed ef yn Farchog y Gardas, a rhoddwyd ef mewn meddiant o holl eiddo arglwydd Audley. Yn y flwyddyn 1507, cynnaliodd Syr Rhys rithfrwydr fawreddus yng nghastell Ceryw, yn agored i'r holl fyd Cristionogol— yr oedd llumanau ac arfluniau ugain o gastelli, oll yn eiddo ef ei hun, yn chwyfiaw yn yr ymladdleoedd.

Cynyrchodd ymuniad Lloegr â Chymru, ynghyd a gwladlywiad doeth a sefydlog Harri, yr effeithiau dedwyddaf. Yr oedd mesurau y brenin wedi eu hynodi gan ddoethineb ac

oedd lawer iawn ym mlaen ar ei oes. Cefnogwyd masnach a thrafnidiaeth yn ol cysondrefn—daeth Newfoundland a chyfran fawr o Ogledd yr Amerig yn eiddo Brutanaidd drwy ddarganfyddiadau Sebastian Cabot o Gaerodor, (o.c. 1497); galluogwyd y pendefigion drwy gyfraith i werthu eu hetifeddiaethau, ac fel hyn am y tro cyntaf taflwyd y tir yn agored i ddosbarthau eraill cymdeithas; hên hawlhòniadau Lloegr i ryw daleithiau o Ffrainc, seiliau addefedig y fath gynifer o ryfeloedd rhagorwych ond anfuddiol ar y Cyfandir, a werthwyd gan Harri i Lewis XII. am swm dirfawr o arian; ac yn ddiweddaf, gwnaed darpariaeth gogyfer ag undeb dyfodol Lloegr a'r Alban, drwy briodas Margaret Tudur, merch hênaf y brenin, gydag Iago IV. o'r Alban. Ar y llaw arall, y mae gwaith Harri yn dienyddio Iarll Caer Guoric, etifedd olaf y linach Gaerefrogaidd, ar Fryn y Tŵr, ac arglwydd Stanley hefyd, ar y rhithesgus o fradwriaeth, yn gwrthdaflu gwarth ar gymeriad Harri. Mae ei drachwant dirfawr, a'i waith yn defnyddio y fath offerynau dirmygedig ag Empson a Dadley i gribddeilio arian oddiar ei ddeiliaid, yn ei roddi yn agored hefyd i sènau haeddianol. Ond ar y cyfan gellir ystyried Harri VII. y doethaf mewn ymarferiad o'r holl freninoedd a eisteddasant ar orsedd Prydain. Dan ei lywyddiaeth ef cyrhaeddodd yr holl Ynys, y tu deheu i'r Tweed gadernid cyfunol o barth buddiantau a gwaithgarwch, ag a osododd i lawr sylfaen mawrwychedd presenol yr ymerodraeth Frutanaidd. Bu farw gan adael gwladogion unedig a deuddeng myrddiwn o bunau yn y trysorlys i'w fab a'i olynydd, Harri VIII., Ebrill 21ain, 1509, a chladdwyd ef yn y Capel Gothaidd harddwych ag oedd wedi ei ychwanegu ganddo at Fonachlys Westminster.

Bedyddiodd Harri VII. ei fab hynaf, ar ol enw ymherawdwr mawr Prydain, yn Arthur. Ar ei farwolaeth alarus a chynarol, Ebrill 2il, 1502, disgynodd yr olyniaeth i'w frawd, Harri VIII. Hynodwyd teyrnasiad y brenin hwn gan ddirymiad y trawsfeddiant Pabyddol ym Mhrydain, ac adferiad ei rhagorfreintiau cyntefig i'r goron Frutanaidd. Llywodraethwyd Lloegr gan Harri, megys yr ennillwyd hi gan ei dad, drwy y cleddyf. Yr oedd yn ormesdeyrn ar bob dosbarth o'i ddeiliaid fel eu gilydd; nid oedd Tŷ y Cyffredin ond yn unig y corff swyddogol drwy ba un y dymunai wneuthur ei ewyllys yn adnabyddus i'r wladwriaeth.

Fel y rhan fwyaf o'r rhai anatebol am eu hymddygiadau, yr oedd yn anlladwr ac yn ormesdeyrn; ond y mae ei wladlywiad fel brenin wedi cael ei gymeradwyo yn awr am bedair canrif gan y gwladogion Brutanaidd. Pan yn ieuanc, rhagorai ym mhob ymgampiad dynol, ond yn ei flynyddoedd olaf aeth yn dêw ac yn faich iddo ei hun, ac yn greulawn tuag at eraill. Nid oedd ganddo ordderchadon; ond ni fydd i'r ganmoliaeth ddyledus i'w ymddygiad ar y pen hwn, fel eithriad i benrhyddid breninol cyffredinol pob oes, ddileu ei greulondeb anghydmarol tuag at ei wragedd. Priododd yn olynol—1af, Catrin o Arragon, gweddw ei frawd Arthur—ysgarwyd hi yn 1533. 2il, Anne Boleyn, mam Elizabeth—torwyd ei phen yn y Tŵr, Mai 19eg, 1536. 3ydd, Jane Seymour, mam Iorwerth VI., yr hon a fu farw ar enedigaeth plentyn, yn 1537. 4ydd, Anne o Cleves—yr hon a ysgarwyd. 5ed, Catrin Howard—torwyd ei phen yn 1542. 6ed, Catrin Parr, yr hon a'i goroesodd. Bu farw Harri yn Westminster, Ion. 28ain, 1547, a chladdwyd ef yn Windsor.

Cyflwynodd y Cymry ddeiseb i Harri, yn llawn o yspryd annibyniaeth, yn galw am ddiddymiad gweddillion yr hên gyfreithiau gwriogaethol neu ardalyddol ar y cyffiniau. Adgofiasant iddo y dylai fod yn falch o allu cyfeirio at un gyfran o'i diriogaethau yr hon ni chafodd erioed ei goresgyn; amddiffynasant eu serchymlyniad wrth eu hiaith, ac ni phetrusent sicrhau iddo gan belled ag y perthynai i unrhyw hawlfraint oddiwrth y linach Normanaidd ac nid y Frutanaidd, mai teulu Caer Efroc oedd ym meddu yr hawl oreu i'r orsedd—oherwydd paham hyd nes daeth Harri Tudur i'r maes y pleidiasant yr ochr hono. Diddymwyd y cyfreithiau ardalyddol, a ffurfiwyd yr ardaloedd eu hunain yn swyddi presenol Mynwy, Brycheinig, Maesyfed, Trefaldwyn, a Fflint.

Gorchfygodd Harri y Ffrancwyr ym mrwydr Spurs, (Guinegaste,) Awst 18ed, 1513. Gwnaoth ei frawdyng-hyfraith, Iago IV. o'r Alban, mewn cyngrhair â Ffrainc, ymgyrch yn erbyn Lloegr, ond gorchfygwyd a lladdwyd ef gan arglwydd Surrey, ar Faes, Ffloden Medi 9, 1513. Gorchfygwyd Iago V., ei olynydd, wrth fôr-nant Solway, Tach. 24, 1542, a bu farw y mis canlynol, gan adael unig blentyn ar ei ol, sef Mair, brenines yr Albaniaid.

Yr oedd y gyfundrefn Fonachaidd wedi dyfod yn fath o

oedd lawer iawn ym mlaen ar ei oes. Cefnogwyd masnach a thrafnidiaeth yn ol cysondrefn—daeth Newfoundland a chyfran fawr o Ogledd yr Amerig yn eiddo Brutanaidd drwy ddarganfyddiadau Sebastian Cabot o Gaerodor, (o.c. 1497); galluogwyd y pendefigion drwy gyfraith i werthu eu hetifeddiaethau, ac fel hyn am y tro cyntaf taflwyd y tir yn agored i ddosbarthau eraill cymdeithas; hên hawlhòniadau Lloegr i ryw daleithiau o Ffrainc, seiliau addefedig y fath gynifer o ryfeloedd rhagorwych ond anfuddiol ar y Cyfandir, a werthwyd gan Harri i Lewis XII. am swm dirfawr o arian; ac yn ddiweddaf, gwnaed darpariaeth gogyfer ag undeb dyfodol Lloegr a'r Alban, drwy briodas Margaret Tudur, merch hênaf y brenin, gydag Iago IV. o'r Alban. Ar y llaw arall, y mae gwaith Harri yn dienyddio Iarll Caer Guoric, etifedd olaf y linach Gaerefrogaidd, ar Fryn y Tŵr, ac arglwydd Stanley hefyd, ar y rhithesgus o fradwriaeth, yn gwrthdaflu gwarth ar gymeriad Harri. Mae ei drachwant dirfawr, a'i waith yn defnyddio y fath offerynau dirmygedig ag Empson a Dadley i gribddeilio arian oddiar ei ddeiliaid, yn ei roddi yn agored hefyd i sènau haeddianol. Ond ar y cyfan gellir ystyried Harri VII. y doethaf mewn ymarferiad o'r holl freninoedd a eisteddasant ar orsedd Prydain. Dan ei lywyddiaeth ef cyrhaeddodd yr holl Ynys, y tu deheu i'r Tweed gadernid cyfunol o barth buddiantau a gwaithgarwch, ag a osododd i lawr sylfaen mawrwychedd presenol yr ymerodraeth Frutanaidd. Bu farw gan adael gwladogion unedig a deuddeng myrddiwn o bunau yn y trysorlys i'w fab a'i olynydd, Harri VIII., Ebrill 21ain, 1509, a chladdwyd ef yn y Capel Gothaidd harddwych ag oedd wedi ei ychwanegu ganddo at Fonachlys Westminster.

Bedyddiodd Harri VII. ei fab hynaf, ar ol enw ymherawdwr mawr Prydain, yn Arthur. Ar ei farwolaeth alarus a chynarol, Ebrill 2il, 1502, disgynodd yr olyniaeth i'w frawd, Harri VIII. Hynodwyd teyrnasiad y brenin hwn gan ddirymiad y trawsfeddiant Pabyddol ym Mhrydain, ac adferiad ei rhagorfreintiau cyntefig i'r goron Frutanaidd. Llywodraethwyd Lloegr gan Harri, megys yr ennillwyd hi gan ei dad, drwy y cleddyf. Yr oedd yn ormesdeyrn ar bob dosbarth o'i ddeiliaid fel eu gilydd; nid oedd Tŷ y Cyffredin ond yn unig y corff swyddogol drwy ba un y dymunai wneuthur ei ewyllys yn adnabyddus i'r wladwriaeth.

Fel y rhan fwyaf o'r rhai anatebol am eu hymddygiadau, yr oedd yn anlladwr ac yn ormesdeyrn; ond y mae ei wladlywiad fel brenin wedi cael ei gymeradwyo yn awr am bedair canrif gan y gwladogion Brutanaidd. Pan yn ieuanc, rhagorai ym mhob ymgampiad dynol, ond yn ei flynyddoedd olaf aeth yn dêw ac yn faich iddo ei hun, ac yn greulawn tuag at eraill. Nid oedd ganddo ordderchadon; ond ni fydd i'r ganmoliaeth ddyledus i'w ymddygiad ar y pen hwn, fel eithriad i benrhyddid breninol cyffredinol pob oes, ddileu ei greulondeb anghydmarol tuag at ei wragedd. Priododd yn olynol—1af, Catrin o Arragon, gweddw ei frawd Arthur—ysgarwyd hi yn 1533. 2il, Anne Boleyn, mam Elizabeth—torwyd ei phen yn y Tŵr, Mai 19eg, 1536. 3ydd, Jane Seymour, mam Iorwerth VI., yr hon a fu farw ar enedigaeth plentyn, yn 1537. 4ydd, Anne o Cleves—yr hon a ysgarwyd. 5ed, Catrin Howard—torwyd ei phen yn 1542. 6ed, Catrin Parr, yr hon a'i goroesodd. Bu farw Harri yn Westminster, Ion. 28ain, 1547, a chladdwyd ef yn Windsor.

Cyflwynodd y Cymry ddeiseb i Harri, yn llawn o yspryd annibyniaeth, yn galw am ddiddymiad gweddillion yr hên gyfreithiau gwriogaethol neu ardalyddol ar y cyffiniau. Adgofiasant iddo y dylai fod yn falch o allu cyfeirio at un gyfran o'i diriogaethau yr hon ni chafodd erioed ei gores-gyn; amddiffynasant eu serchymlyniad wrth eu hiaith, ac ni phetrusent sicrhau iddo gan belled ag y perthynai i unrhyw hawlfraint oddiwrth y linach Normanaidd ac nid y Frutanaidd, mai teulu Caer Efroc oedd ym meddu yr hawl oreu i'r orsedd—oherwydd paham hyd nes daeth Harri Tudur i'r maes y pleidiasant yr ochr hono. Diddymwyd y cyfreithiau ardalyddol, a ffurfiwyd yr ardaloedd eu hunain yn swyddi presenol Mynwy, Brycheinig, Maesyfed, Trefaldwyn, a Fflint.

Gorchfygodd Harri y Ffrancwyr ym mrwydr Spurs, (Guinegaste,) Awst 18ed, 1513. Gwnaeth ei frawdyng-hyfraith, Iago IV. o'r Alban, mewn cyngrhair â Ffrainc, ymgyrch yn erbyn Lloegr, ond gorchfygwyd a lladdwyd ef gan arglwydd Surrey, ar Faes, Ffloden Medi 9, 1513. Gorchfygwyd Iago V., ei olynydd, wrth fôr-nant Solway, Tach. 24, 1542, a bu farw y mis canlynol, gan adael unig blentyn ar ei ol, sef Mair, brenines yr Albaniaid.

Yr oedd y gyfundrefn Fonachaidd wedi dyfod yn fath o

ystabl Augeanaidd gan lygredigaeth. Yr oedd enaid crefydd wedi ymadaw allan o honi erys amser maith yn ol, ac yr oedd Wicliffe yn niwedd y bedwaredd-ganrif-a'r-ddeg wedi llefain fod y boncyff braenllyd ei hun yn llesteirio y tir, ac y dylid ei dori i lawr. Mae egwyddor monachaeth Babyddol yn ddrwg yn ei gwreiddyn, ac nis gall ffynu ond yn unig ar draul rhinweddau teuluol y bobl ym mhlith pa rai y mae wedi ei sefydlu. Mae cenedl dan ei llywodraeth yn dyfod yn wanaidd mewn ystyr foesol a deallol—mae coelgrefydd ffôlserchus yn dadymchwelyd ffydd Gristionogol, ac ymarferiad ynfyd ddyledswyddau gweithredol bywyd; uwchlaw pobpeth, mae'n creu ac yn cefnogi y diraddiad naturiol a'r angenusrwydd y cymera arni eu diwallu. Rhaid i genedl a lywodraethir gan Offeiriadaeth o angenrheidrwydd fod yn genedl wasaidd ac anwrol; ac o bob camlywodraeth yr Offeiriadol yw y fwyaf niweidiol, gan ei bod yn cynyrchu gelyniaeth i grefydd ei hun. Dyben mawr Cristionogaeth yw galluogi pob credadyn i fod yn ddeddf foesol iddo ei hun; ac unig ficer ysprydol Crist a gydnabyddir ganddi ar y ddaiar yw yr Yspryd Glân yng nghalon a bywyd dyn. Rhaid i beth bynag sydd yn tueddu i gyfnewid y teimlad iachusol hwn o hunan-gyfrifoldeb i Dduw, neu i wyrdroi yr offeiriadaeth Gristionogol yn amgen nag i addysg ac hyfforddiant Crist, er goleuant a dedwyddwch cyffredinol dynolryw, fod yn ddistrywiol i egnïon rhagoraf y bod dynol. Dichon fod yr hyn a gynhyrfodd Harri i effeithio distrywiad y Mynachlogydd yn agored i gerydd, ond mae y weithred ei hun yn teilyngu o'r bron gymeradwyaeth hollol. Tybid fod y mynachlysoedd a'r gwyryfdai yn bodoli er lles y tlawd. Yr oedd y trigianwyr eu hunain dan addunedau i fod yn dylawd. Nid allent neillduoli at eu gwasanaeth eu hunain un gyfran o ardrethoedd eu hetifeddiaethau—yr oeddynt i lafurio â'u dwylaw eu hunain, a gweinyddu eu heiddo er lles y cyffredin. Yr oedd y gweddill i'w roddi er dyrchafiad addysg, er arferiad o lettygarwch duwiolfrydus, ac er cynnorthwy i Gristionogion angenus ac oedranus. Ond yr holl ddyledswyddau hyn a esgeulusid yn dwyllodrus, ac yr oedd y mwyafrif dirfawr o'r mynachod yn anwybodus, yn hunanddarfoethus, penrydd, a diddaioni—yn gacwn a locustiaid y tir. Yr oedd eithriaid gyda hwynt fel gyda phob peth —*megys* Ynys Afallon, ei phenfynach a'i brawdoliaeth; ac

y mae'n warth i'r Diwygiad na dderbyniodd y cyfryw rai fwy o ystyriaeth na'r lleill. Y prif brwyaduriaid er dymchweliad y crefydd-dai oeddynt Ap Rhys, Legh, a Leyton, dan lyw Cromwel, yr hwn a gyhoeddid yn "rhaglaw y brenin yn ei holl awdurdodaeth eglwysig o fewn y deyrnas hon." Y bwriad cyntaf oedd diwygio, nid distrywio; ond cafwyd fod hyn yn analluadwy, ac yn y diwedd dymchwelwyd yr holl dai a defnyddiwyd eu cyllidau, y rhai a gyrhaeddent yn agos i wyth myrddiwn o bunau yn ol gwerth presenol arian, at wasanaeth a dybenion bydol.

Rhaid i'r Diwygiad yn o.c. 1537 ac 1562 gael ei farnu mewn dau olygiad gwahanol. Trwyddo daeth yr hên egwyddor Frutanaidd drachefn yn gyfraith y tir, megys y cyhoeddid hi gan esgobion Prydain, o.c. 607, yn eu cynnadledd gyda'r cenadwr Rhufeinig cyntaf, sef Awstin, (gwel tu dal. 135,) ni wyddai Prydain am unrhyw ufudd-dod yn ddyledus i neb rhyw Esgob tramor, ac ni chydnabyddai hi un Pab neu Dad o dadau yn Eglwys Crist. Taflwyd egwyddorion caethwasiaeth llëygol i offeiriadaeth dramor ac eiddo y gyfundrefn fonachaidd a edrychai i'r Eidal ac at wael dywysog Eidalaidd fel ei chartref a'i phen, allan o'r grefydd wladol, ac adferwyd i'r cyfansoddiad egwyddorion rhydd Eglwys gynhenid Prydain, yr hon ni chydnabyddai ond y penadur brodorol yn unig fel ei phrif lywodraethwr gwladol ac eglwysig, a'r bobl Brutanaidd yn unig fel sail ei chynaliaeth. Torwyd y gadwen o gaethwasanaeth ag oedd yn rhwymo yr holl Ynys wrth droed offeiriad tramor anatebol, fyth i gael ei hail ffurfio drachefn; ac adgymerodd Prydain ar unwaith y sefyllfa o allu mawr cynnyddol a gorchfygol, a feddianai dan lyw ei Chystenyniaid a'i Harthuriaid. O'r munud y darfyddodd y Pab arferu awdurdod o fewn y deyrnas hon, darfyddodd Prydain fod yn allu ail raddol, a daeth yn allu o'r radd gyntaf. Hunllef yr Oesau Tywyll, yr hon a eisteddai ar ei chalon, gan atal ei hanadl a brawychu ei dargwsg â breuddwydion ofergoelus, a ddilocheswyd ac a daflwyd dros y Môr Udd gan fraich gref Caisar brodorol, yn cynddrychioli er ei holl weithredoedd drygionus, yspryd naturiol yr hên genedl. "Dywedodd y Brutaniaid," medd Arglwydd Bacon, (*Government of England*) "wrth Awstin, na fyddai iddynt hwy fod yn ddarostyngedig iddo ef, ac na adawent iddo yntau ychwaith wyrdroi hen gyfreithiau eu heglwys; ac yr oeddynt

gystal â'u gair, canys cadwasant ryddid eu heglwys am chwe chant o flynyddoedd ar ol ei amser ef, a hwy oeddynt yr olaf o holl eglwysi Ewrop a roddasant i fyny eu hawdurdod i'r bwystfil Rhufeinig; ac ym mherson Harri VIII., yr hwn oedd o'u gwaedolaeth drwy Owain Tudur, hwynt hwy oeddynt y rhai cyntaf a gymerasant yr awdurdod hono ymaith drachefn." Pa hawl bynag, drwy genadwriaeth Awstin, a allai y Pab hònni i warogaeth ysprydol y ddosran Saesonig o'r eglwys, nid allai feddu un hawl, y mae'n eglur oddiwrth holl ffeithiau hanesiol y peth, i warogaeth yr Eglwys Frutanaidd a sefydlwyd ganrifau o flynyddoedd cyn y cyfryw genadwriaeth, a'r hon a welodd Awstin yma fel unig eglwys holl orllewinbarth yr Ynys, a'r gyfran fwyaf o'r Alban a'r Iwerddon. Nid yw yn dangos gymaint o dwyll digywilydd ag yw o anwybodaeth hollol mewn hanesiaeth Frutanaidd ac eglwysig i ddadleu mai yr Eglwys Babaidd oedd eglwys gynhenid Prydain, neu mai ei hegwyddorion hi oeddynt eiddo Cristionogaeth Frutanaidd. Yr oedd yr eglwys Frutanaidd ym mhob ystyr yn eglwys ardderchocach a phurach; ac nid cynt yr ailesgynodd yr âch Frutanaidd ar yr orsedd nag y daeth unwaith drachefn yn eglwys y wlad—y Beibl ei hunig safon ffydd, a gwladgarwch goleuedig gyda'i hên gasineb iachusol at ymyriad tramor—Eidalaidd, Ffrancaidd, neu Ellmynaidd—ei phrif ddyledswydd genedlaethol. Dyma ochr oleu y Diwygiad. Yr ochr dywyll yw, fod tir a chyllidau y tlodion Cristionogol, o ba rai nid oedd yr eglwys a'r crefydd-dai ond ymddiriedolwyr yn unig, ac nid meddianwyr, yn lle cael eu defnyddio i ddybenion Cristionogol cenedlaethol, wedi cael eu rhanu rhwng llŷswyr a gwleidiadwyr diegwyddor, y rhai a wnaethant ddiwygiad crefydd yn ffûgorchudd gwâg en yspeiliad ac anrheithiad y tlawd. Nis gall drygfuchedd, anonestrwydd, a gwalldrefn ymddiriedolwyr, fyth fod yn rheswm dros i'r hwn a eilw ei hun yn ddiwygiwr ddefnyddio y drysorfa ymddiriedol ei hunan fel y myno ef. Mae'n deg, beth bynag i goffadwriaeth Harri, i ni sylwi ei fod yn y rhan amlaf o'i roddion o diroedd cysegredig wedi gosod telerau rhwymedig yn gwneuthur y tirafaeliad yn amodol ar gyflawniad dyladwy ar ran y meddianwyr newydd o'r dyledswyddau a esgeulusid gan y mynachod,—sef cadwriaeth y tlawd, lletygarwch, ac addysg. Ac y mae etifeddiaethau *Duciaid Bedford*, Dyfneint, ac eraill, teuluoedd ag oedd-

ynt cyn hyny yn anadnabyddus mewn hanesiaeth Saesonig, a pha rai ydynt ddyledus am sail eu cynnysgaeth i'r rhoddion hyn, yn ddarostyngedig unrhyw ddydd, pe rhoddid y gyfraith yn briodol mewn grym, i gael galw arnynt gan y senedd i gyflawni y telerau hyn dan boen troi'n ol y tiroedd eu hunain, mewn achos o anufudd-dod, i ddwylaw y genedl. Darfu y gwaith o gyfrwys ochel y telerau hyn gythruddo y bobl gymaint fel y rhedodd y casineb cenedlaethol yn ffrŵd angeuol yn erbyn y pendefigion; a gwrthryfel gweriniaethol Cromwel nid oedd mewn gwirionedd ond ad-daliad dialeddus ar y rhan dwyllodrus ac anymddiffynadwy yma o eiddo y Diwygiad. Ond gan bwyso yn deg beth bynag, y ddwy fantol o ddrwg a da, rhaid ystyried y Diwygiad bob amser megys adenedigaeth Prydain. Yr oedd rhyddhâd y deyrnas oddiwrth drawsfeddiant offeiriadol tramor yn werth ei brynu hyd yn oed drwy ryfel gwladol.

Olynwyd Harri gan ei fab Iorwerth VI., a aned yn Llys Hampton. Gan nad oedd ond yn ei nawfed mlwydd oed pan ddaeth i'r orsedd, galwyd cynghor o un-ar-bymtheg o ddynion fel rhaglawiaid y deyrnas, y rhai a benodasant fel eu llywydd y Duc o Somerset, brawd mam y brenin, sef Jane Seymour, gan roddi iddo yr urddenw o amddiffynwr y deyrnas. Torwyd pen y llyngesydd arglwydd Seymour yn o.c. 1549, am fradfwriadu yn erbyn llywodraeth ei frawd, yr hwn yn ei dro a ddïenyddiwyd am deyrn-fradwriaeth, ar Fryn y Tŵr, Ion. 22ain, 1552. Dylynwyd ef fel amddiffynwr gan ei gydymgeisydd, Dudley, yr hwn a wnaed yn Dduc Northumberland. Cyfansoddodd Cranmer yn y teyrnasiad hwn ddwy a deugain o erthyglau crefydd, o ba rai y ffurfiwyd wedyn yn nheyrnasiad Elizabeth bedair erthygl ar-bymtheg ar-hugain yr Eglwys sefydledig. Casglwyd hefyd dan gyfarwyddiad Iorwerth lyfr yr Homiliau, gan Cranmer a Ridley.

Bu farw Iorwerth o'r darfodedigaeth, Gorph. 6, 1553, gan adael o'i ôl gymeriad tra gobeithiol. Dylynwyd ef i'r orsedd gan ei chwaer Mair, merch Catrin o Arragon.

Meddianai Mair rai rhinweddau rhagorol, ond y mae yn nodwedd perthynol i addysg eglwys Rhufain, wenwyno a gwyrdroi y cyfryw i'w dybenion hunangar ei hun; ac ychydig feddyliau a feddant nerth moesol digonol i dori drwy, neu esgyn goruwch y gorthrwm o hyfforddiant; ag sydd yn

diraddio cydwybod ei hun i fod yn offeryn i offeiriadaeth. Gwelodd y wlad dan ei theyrnasiad hi adnewyddiad ar raddfa helaeth o dânau ac erledigaethau Rhufain Baganaidd a Phabaidd. Dangoswyd ym Mhrydain ddrŷch o gudd-lofruddiaethau cyfreithlawn yn enw crefydd a'r eglwys nad ellid eu cyferbynu ond yn unig â'r merthyriadau a gymerasant le yn nheyrnasiad Dioclesian, yn o.c. 300.

Dyoddefodd Hooper, esgob Caerloyw, Ridley, esgob Llundain, Latimer, esgob Caer Gorangon, Cranmer, arch-esgob Caergaint, ynghyda thri chant o rai eraill, o offeiriaid a gwyr lleyg, wrth y pawl. Darfu yr olwg ar yr arteithiau hyn, a roddid yn gosbedigaeth ar ddynion ag oeddynt yn gyffredinol o fywydau difrycheulyd ac o farnau difrifol, ysdrydebu casineb a ffieiddrwydd y wlad tuag at y grefydd Babaidd. Er y pryd hyny y mae Pabyddiaeth ac Erledigaeth wedi dyfod yn eiriau cyfystyr ym marn Prydain; ac nid heb ddwfn reswm, canys gellir ei gymeryd fel gwireb hanesyddol y bydd i Eglwys Rhufain pa le bynag y goddefir iddi gael yr uchawdurdod, ddefnyddio, yn gyhoeddus neu yn ddichellgar, pob moddion perthynol i chwil-lys offeiriadol, neu i gosbedigaethau personol, er llwyrddistrywio pawb ag ydynt wrthwynebol i'w chyfundraeth ei hun.

Priodwyd Mair yn Gorphenaf, 1554, yng Nghaer Wynt, gyda Philip II. o'r Hispaen, y penadur Pabyddol mwyaf cul-feddwl a phenboethlyd ar y Cyfandir. Trodd yr undeb allan yn dra annedwydd; ac wedi ei tharaw i lawr yn yr un modd gan esgeulusiad teuluaidd a melldithion ei deiliaid, terfynodd Mair ei gyrfa bruddaidd a cham-arweiniol, yn Llundain, Tach. 17eg, 1558.

Gellir ystyried Elizabeth ei hanner chwaer a'i holynydd, fel y ddoethaf a'r alluocaf o holl benaduriaid Prydain, er amser y goresgyniad Normanaidd. Y wladlywiaeth a sefydlodd hi yw gwladlywiaeth gywirol, naturiol, a thraddodiadol Prydain, fel byd hunan-gynnwysedig. Dan ei llywodraeth hi daeth ein Hynys, megys yr oedd hi yn yr hên oesoedd yn ben y grefydd Dderwyddol, yn ben y grefydd Brotestanaidd, gan gynddrychioli ei hegwyddorion rhydd ac amddiffyn ei buddiantau mewn gwledydd tramor yn yr un modd ag ym Mhrydain. Dau o ddygwyddiadau pwysicaf ei theyrnasiad oeddynt—1af, gorchfygiad ac o'r *bron ddistrywiad* llynges arfog yr Hispaen a ddarparwyd

gan Philip II. er gwneuthur ymgyrch yn erbyn Lloegr ac er adferu y grefydd Babaidd; 2il, dienyddiad ei chyfnither, Mair, brenines yr Albaniaid, dan y cyhuddiad o'i bod yn euog o weithredoedd bradwrus, yng nghastell Fotheringay, Chwef. 7ed, 1587. Pa un bynag ai dyna oedd dyben Elizabeth ai peidio, darfu y weithred fawr hon o gosbedigaeth farwol daro i lawr ag un dyrnod o'r fwyell ar wddf breninol, yr holl gyfundrefn wriogaethol ynghyda'r athrawiaeth o "hawliau dwyfol breninoedd" a gynnwysid ynddi. Nid oedd Cromwell ond Elizabeth weriniaethol yr oes ganlynol, yn cymhwyso y rhagreol Duduraidd at ail ben coronog. Yr oedd hyny yn benderfyniad arswydlawn hyd yn oed i gael ei fabwysiadu gan y frenines lewesaidd, a buasai y dienyddiad yng ngeirweddiad ein hên Drïoedd yn cael ei nodweddu fel un o "dair anfad fwyellawd Ynys Prydain," sŵn pa un sydd fyth yn rhuo yng nghlustiau pob penadur.

Gorphenodd Elizabeth yn gyflawn y diwygiad a ddechreuwyd yn yr eglwys a'r wladwriaeth gan Harri VIII. Gwrthododd yn onest y titl o "ben yr eglwys" fel un nad oedd yn briodol i neb ond ein Harglwydd bendigedig yn unig, ac yn anfad i unrhyw fôd dynol,—Pab neu frenin, ei gymeryd. Yn lle hyny, cymerodd y titl a arferir yn awr gan y goron, sef "Prif lywodraethydd yr eglwys" ag sydd yn gyfartal i'r titl gweinidogaethol "*Vicarius Christi*"—ficer Crist, a arferid gan Llês, y brenin Cristionogol cyntaf a chan ei olynwyr ym Mhrydain (gwel tu dal. 109.)

Y ddeddf o uchafiaeth, drwy yr hon yr oedd pob offeiriad a swyddog, a ddalient eu swyddi dan y goron, yn rhwym i gymeryd llŵ eu bod yn ymwadu nid yn unig ag awdurdod dymorol ond awdurdod ysprydol hefyd pob tywysog neu esgob tramor, a wnaed gan Dŷ y Cyffredin er amddiffyn egwyddorion gwladol y diwygiad. Derbyniodd Holland yn gyhoeddus, a llywodraethau diwygiadol eraill yn ddirgelaidd, help a chynorthwy arianol gan y frenines. Ymlyniad wrth y Pab a drinid fel bradwriaeth weithredol at y goron; a than weinyddiaeth ddoeth, gadarn a gwladgarol Cecil, arglwydd Burleigh, o hên deulu Esyllwg y Seisylltiaid o Forganwg, mabwysiedid pob mesur er tywallt yspryd cynhenid Prydain i mewn i'r drefn newydd ar bethau. Ac yr oedd y llwyddiant yn gydfesurol ag ardderchogrwydd yr ymgais. Mae yr oes Elizabethaidd yn aros yn rhyw-

beth mwy na'r oes Augustaidd o barth llenyddiaeth Frutanaidd, canys nid oedd Horace a Virgil ond gwenieithwyr truthiog i orthrymwr, yr hwn yr oedd ei ddwylaw yn gôch gan waed ei gydwladwyr; tra yr oedd Shakespeare, Spenser, a Sidney, er yn cynnwys helaethder o deyrngedion prydferth o folawd i ddynsawd ac ystlen eu penadur, yn orlawn o ymadroddion gogoneddus ar ran hawliau a rhyddfreiniau annrhosglwyddadwy y bobl. Cafodd gallu llyngesol Prydain gyffelyb ysgog-nerth—ymunai pob grâdd yn yr ymdrech i gael allan ddarganfyddiadau arforawl. Daeth y wladlywiaeth a gynlluniwyd mewn cyfnod blaenorol gan Carawn (gwel tu dal. 111,) o adeiladu mawreddigrwydd Prydain ar freninesiaeth y moroedd, yn rheol sefydlog y llywodraeth. Cyfeiliornad mawr y Prydeiniaid, y Saesen, ac mewn mesur helaeth y Normaniaid, ydoedd eu hesgeulusiad o uchafiaeth llyngesol a naturiol yr ynys, gan adael ei harfordiroedd yn agored i bob rhyw ymgyrch. Dyoddefodd pob un o honynt am eu diofalwch yn arw yn eu tro mewn olyniant o ryfeloedd mileinig; ond y mae gwybodaeth brofiadol wedi prynu ei gwers, ac yr ydym yn awr yn gyffredinol yn cydnabod y gwirionedd fod nid yn unig eiddo ond hyd yn oed bodolaeth Lloegr fel gallu annibynol, yn gorphwys ar ei harglwyddiaeth ar y cefnfor.

Yn ystod y teyrnasiad hwn cylchfordwyodd Drake o gwmpas y ddaiar. Trefedigodd Raleigh Virginia, a dygodd fyglys a chloron i mewn i'n gwlad. Dyma y pryd yr atgludwyd tê gyntaf i'r Ynys gan yr Isellmynwyr o China, ac y daeth sidan yn nwydd cyffredin gwisg.

Diseddwyd yr esgobion Pabaidd yng Nghymru gan Elizabeth, a phenodwyd yn eu lle esgobion ar egwyddorion y diwygiad, y rhai nid oeddynt ond eiddo eglwys gyntefig Prydain—rhai hollol gymhwys i addysgu a phregethu i'r Cymry yn eu hiaith eu hunain. O'r rhai hyn Morgan a Parri oeddynt yr enwocaf. Fel hyn y sefydlwyd esgobaeth wir efengylaidd, yn gwneyd ei hun yn un â holl deimladau anrhydeddus hên genedl hanesiol. Y canlyniad ydoedd i'r Cymry yn fuan dderbyn oddiar eu dwylaw yr Ysgrythyrau agored yn yr iaith Gymraeg, a'r holl wlad gan ymwrthod â'r defodau newyddion a ddygid i mewn gan y Babaeth a ymlynodd wrth yr eglwys frodorol adferedig. Yn yr Iwerddon yn y gwrthwyneb i hyn, penodwyd esgobion analluog i siarad yr iaith Wyddelig, yn groes i brif egwyddorion y

diwygiad a broffesent gynddrychioli; ac fel canlyniad haeddianol ac anocheladwy, syrthiodd y diwygiad yr hwn tuag at y Gwyddelod nid oedd yn un math o ddiwygiad, eithr twyll ac anwiredd, yn ddieffaith ar y bobl. Mae y Gwyddelod yn parhau hyd y dydd hwn yn Babyddion, ac am barhau felly, yngwyneb bod Lloegr wedi pallu cyflawni dyledswyddau mwyaf gwaeddfawr llywodraeth Gristionogol tuag at eu heneidiau, y maent dros dair canrif wedi bod yn cael eu herlid a'u dinoddedu mewn ystŷr wladol ac eglwysig gyda chreulondeb ag sydd yn taflu gwarth mor fawr ar lywodraeth ac eglwys Brotestanaidd y Deyrnas Gyfunol ag a daflodd yr erledigaethau dan deyrnasiad Mair ar lywodraeth ac eglwys Babyddol yr oes hono. Cenedl dwymgalon a chynhyrfiol, megys y Gwyddelod, a ellid yn hawdd eu tywys a'u hennill drosodd at y gwirionedd, ond y maent yn ei gymeryd yn sarhâd a hyny yn gyfiawn, gael eu gyru iddo drwy orthrech milwyr. Yr oedd eglwys gyntefig yr Iwerddon yn un â'r Frutanaidd, ac wedi ei sylfaenu gan genadwr Brutanaidd—St. Padrig. (Gwel tu dal. 128.) Rhoddwyd hi o'r neilltu drwy rym arfau gan Harri II., yn amser goresgyniad Normanaidd yr Iwerddon, a sefydlwyd yr eglwys Rufeinig, mewn ad-daliad am sêlwarant y Pab drwy ba un y cymerai arno awdurdodi y cyfryw oresgyniad, ar ei hadfeilion. Dechreuad offeiriadaeth Babyddol bresenol yr Iwerddon oedd rhyw eglwyswyr Hispaenaidd a anfonwyd drosodd gan y Pab yn nheyrnasiad Elizabeth, ar ol i offeiriadaeth a glwyslywiaeth Babaidd yr amser hwnw ddatgan eu hymlyniad a'u hymuniad wrth y Diwygiad—egwyddorion pa un beth bynag yr esgeulusasant eu cadw mewn modd camweddus.

Bu farw Elizabeth ar ol teyrnasiad gwiwgof o bum-mlynedd a deugain, Mawrth 24, 1603. Yna disgynodd yr olyniaeth ar Iago Stuart o'r Alban, fel cynddrychiolydd Margaret Tudur, merch henaf Harri VII., gan fod holl blant ei brawd Harri VIII., y pryd hwn wedi darfod.

## Y CYFNOD DIWEDDAR.

Gwreiddyn teulu Stuartiaid yr Alban oedd Gwallter Ddu, mab Trahaiarn ap Caradoc, tywysog Gogledd Cymru, a Nest, merch Gruffydd ap Llewelyn. (Gwel tu dal. 147.) Cafodd goron yr Alban drwy ymbriodi â Margaret, unig ferch ac etifeddes Robert y Bruce. Y penaduriaid neu y llywodraethwyr canlynol sydd yn cyfansoddi llinach Stuartaidd Lloegr:—Iago I.,—Siarl I.,—Cromwel, drwy darddiad o du ei fam,—Siarl II.,—Iago II.,—Gwilym III. (o Orange,) nai Iago II.,—ac Ann.

Iago I. oedd fab i Harri Stuart, arglwydd Darnley, a'r anffodus Mair, brenines yr Albaniaid. Ar ei ddyfodiad ef i'r orsedd daeth coronau Lloegr a'r Alban yn un, a chymerodd yntau y titl o Frenin Prydain Fawr. Ceisiodd hefyd effeithio undeb y ddwy wlad, gan arddangos undeb Lloegr a Chymru, ynghyda'r effeithiau dedwydd a ddylynodd oddiwrth hyny i'r naill genedl a'r llall, fel cynreol. Beth bynag, gwrthodwyd y mesur yn ddioed gan Dŷ y Cyffredin, yr hwn a ddywedodd mewn atebiad i'r holl resymau breninol, (o.c. 1610,) "Mae yna berthynas mewn gwaed, cyfreithiau, defodau, a serchiadau, rhwng y Saeson a'r Cymry—ni fu dim erioed ond dygasedd rhwng y Saeson a'r Albaniaid." Aeth canrif arall heibio cyn y gellid dwyn i ben undeb gogleddbarth a deheubarth Prydain, o.c. 1706.

Llywyddai Cecil Arglwydd Burleigh gyda'i gallineb arferol y cynghorau gwladwriaethol hyd ei farwolaeth, 1612. Yr oedd Iago ar ol hyn yn taflu ei hun yn barhaus i ddyryswch gyda'r senedd, a hyny hyd ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le yn ei freninlys yn Theobalds, yn swydd Henffordd, o.c. 1625. Yr oedd iddo dri o blant,—sef Harri, yr hwn a fu farw o'i flaen ef, yn 1612; Siarl, ac Elizabeth, yr hon yn 1613 a briododd Frederic, brenin Bohemia, a'r ferch ieuengaf pa un, sef Sophia, a'i hetifeddion, gan eu bod yn Brotestaniaid, y sefydlwyd wedi hyny olyniaeth y goron, yn 1700. Yn y teyrnasiad hwn y blodeuodd Inigo Jones, yr archadeiladydd Cymreig; ac y ffurfiwyd cymdeithfa Afon Newydd Llundain, gan Syr Hugh Myd*dleton, brodor o* swydd Ddinbych.

Y gydfrad a adnabyddir fel Brâd y Pwdr gwn, i chwythu fyny ddau Dŷ y Senedd, ynghŷda'r brenin a'r teulu breninol, a ddarganfyddwyd ar noson y 5ed o Dach. 1605; yr oedd yr holl gydfradwyr yn Babyddion. Byddai yn anghyfiawn gosod gweithred ychydig o ddynion ffrochwyllt yn gyhuddiad yn erbyn yr holl gorff o Babyddion,—ond mae y gydfrad beth bynag yn aros ar gôf-ysgrif fel engraifft o un o'r troseddau hyny ar raddfa fawr, y cyflawniad o ba un os nas gellir ei phriodoli i ddylanwadau yr offeiriadaeth Babyddol a'i hathrawiaethau, ni chafodd, a dweyd y lleiaf am hyny, ei atal ganddynt. Ni ddichon crefydd yr hon nid all ar unwaith gyfeirio at ei hegwyddorion fel rhai gwrthwynebol ac analluog i achosi neu gyfiawnhau y fath fradwriaethau ag oedd brad y Pwdr gwn, neu y fath gyflafanau ag oedd eiddo St. Bartholomew, ddwyn ym mlaen ond hawliau distadl i gael ei hystyried yn allu ataliol ac iachusol, a llai fyth fel datguddiad Duw er cyfiawnder. Rhaid fod rhywbeth yn wreiddiol ddrwg mewn cyfundraeth yr hon nis gall wrthbrofi i foddlonrwydd y cysylltiad a briodolir iddi gan gyfran fawr o'r byd gwareiddiedig gyda y fath benboethni echryslawn.

Dylynodd Siarl I. ei dad i'r orsedd yn 1625. Priododd Henrietta, merch Harri IV., brenin Ffrainc. Cafodd eppil,—sef Siarl, wedi hyny Siarl II., Mair, yr hon a briododd Gwilym tywysog Orange, tad Gwilym III., Iago duc Caerefrawg, wedi hyny Iago II.,—Harri duc Caerloyw,—Elizabeth, yr hon a fu farw yn ieuanc,—a Henrietta.

Yr oedd Siarl yn meddu llawer o deleidion meddwl ac ardymher, ond gwneid y cyfan yn ddiwerth drwy ffuantrwydd gwirfoddol ac arferol. Yn 1642 torodd allan y rhyfel gwladol a elwir yn gyffredin y Gwrthryfel Mawr. Achosid hyny drwy ymgais a wnaeth y brenin i lywodraethu y wlad mewn modd amgen na thrwy ei chynddrychiolwyr seneddol. Prif ddygwyddiadau y gwrthryfel oeddynt.—

Brwydr Edgehill, yn swydd Caer Guorie, rhwng y Breninwyr a'r Seneddolion. Amhenderfynol. Hyd. 23ain, 1642.

Brwydr Maes Charlgrove, yn agos i Rydychain, ym mha un y cwympodd Hampden. Mehefin 18ed 1643.

Brwydr Lansdowne, yn agos i Gaerbaddon, Gor. 5ed, 1643.

Brwydr Newbury, yn swydd Berk, Medi 20ed, 1643.

Brwydr Morfa Marston, yn swydd Caerefrawg, Gor. 2il, 1644, yn yr hon y dymchwelwyd y Marchogion yn hollol gan Cromwel.

Brwydr Naseby, yn Northampton, Mehefin 14eg, 1645, ym mha un y dyoddefodd y Breninwyr orchfygiad nodedig drachefn gan yr un cadflaenor.

Ar ol y frwydr olaf hon cymerodd Siarl noddfa yn yr Alban, ei deyrnas gyndadaidd, ond bradychwyd a gwerthwyd ef mewn modd cywilyddus gan yr Albaniaid i senedd Lloegr am £400,000. Profwyd ef gan gwrt o saith ugain a thri o'i ddeiliaid, yn llŷs Westminster, cafwyd ef yn euog o wneuthur rhyfel yn erbyn ei bobl, a dienyddwyd ef o flaen y Llŷs Gwyn, *Whitehall*, Ion. 30ain, 1649. Efe ydoedd y nawfed brenin a fu farw o farwolaeth greulon er amser y goresgyniad Normanaidd, yn 1066. Trengodd drwy reithfarn y weriniaeth, a draddodwyd o leiaf gyda holl ffurfiau difrifol y gyfraith. Cwympodd yr wyth eraill yn aberthau i anghyfreithlondeb cyhoeddus neu gorgleddau dirgelaidd y bendefigaeth Normanaidd.

Ar farwolaeth Siarl, yr hwn a brofodd ei hun yn fwy a gwell dyn mewn adfyd nag y bu mewn llwyddiant, daeth y llywodraeth, megys y digwydd bob amser mewn rhyfeloedd gwladol, yn ormes-deyrnedd filwraidd, yn cael ei llywio gan law nerthol Oliver Cromwel.

Mae Oliver Cromwel yn llefaru am dano ei hun yn un o'i areithiau cyntaf yn y senedd fel "gwr boneddig a aned o hên linach." Ac felly yr oedd yn wirioneddol: yr oedd ei fam yn ferch i Syr Risiart Stuart, llinach gyfochrol o'r Stuartiaid breninol. Ar ochr ei dad yr oedd ei deulu yn disgyn yn uniongyrch o Cynfyn ap Gwerystan, tywysog Powys. Bu trigfa eu teulu am lawer o genedlaethau yn Eglwys Newydd, yn agos i Landaff, lle yn ddiweddar y cymerasant yr enw Williams. Syr Risiart Williams, mab Morgan Williams, yr hwn a ddylynodd dyngedion Harri Tudur i Loegr, gan briodi merch Cromwel iarll Essex, a ychwanegodd yr enw Cromwel at yr eiddo ei hun. Ei hiliogaeth, ac Oliver yn eu plith, a arwyddent eu henwau, (rhai mor ddiweddar a'r flwyddyn 1740,) "Cromwel neu Williams." Yr oedd hefyd y gwr mawr hynodol arall perthynol i'r werinlywodraeth sef Milton, o hên waed Brutanaidd, gan ei fod yn disgyn yn llinachol o Llywarch, tywysog Argoed, un o farchogion a beirdd enwocaf y chweched ganrif. Yr oedd ei gyndad hefyd wedi dylyn y Tuduriaid o Fflint, lle yr oedd y teulu yn dal y swydd etifeddol o gasglu y trethi breninol. Un o ddeheubarth Cymru oedd mam Milton, ac yn berthynas i Cromwel—oddiyma y tarddodd y cyfeillgarwch neillduol a ddangosodd ei hun yn fuan mewn unol weithrediad cyhoeddus o eiddo y ddau wr hyn-

od hyn, un gydag ysgrif-bin, a'r llall gyda chleddyf y werinlywodraeth. Llafuriodd y ddau dan lawer o walliadau mawrion; a diau y rhaid fod y gwr hwnw yn wan neu orphwyllus a dderchafai y naill na'r llall o honynt fel gwrthrych o arwr-addoliad. Ond yr oedd eu ffaeleddau ar y cyfan yn rhai Brutanaidd; ac megys y rhoddodd y bardd i Loegr ei chofadail llenyddol mwyaf uchelfryd, felly y cododd y gwladweinydd ei wlad i'r pinagl uchaf o fawrwychedd a pharch a gyrhaeddodd er dyddiau Arthur yng ngolwg cenedloedd tramor. Prif ddygwyddiadau Arnoddiad Cromwel oeddynt fel y canlyn.—

Darostyngiad yr Iwerddon gan Cromwel, o.c. 1649.
Goresgyniad yr Alban—brwydr Dunbar, Medi 3ydd, 1650.
Buddugoliaeth yng Nghaer Gorangon ar y Brenhinwyr, Medi 3ydd, 1651.
Buddugoliaeth ger llaw Portland, a gafwyd gan y Llyngesydd Blake, ar y llyngeswyr Isellmynaidd Van Tromp, De Ruyter, a De Witt, Chwef, 1652.
Goresgyniad Jamaica, 1655.
Marwolaeth Cromwel o'r cryd, Medi 3ydd, 1658. Claddwyd ef gyda gorwychder mawr ym Monachlys Westminster.

Ar farwolaeth Cromwel, gwahoddwyd Siarl II., mab hynaf Siarl I., gan y cadfridog Monk a'r senedd, i esgyn i'r orsedd. Ei deyrnasiad ef yw un o'r rhai mwyaf gwarthus yn hanesion Prydain. Er yn oferddyn diyspryd ei hun, yr oedd ei lŷs yn gynnulliad o ferched diffaeth ac o lŷswyr wedi eu diraddio gan bob drygioni. Yr oedd eu hesiampl wedi llygru y wladwriaeth fel yr oedd arferion penrhydd yn teyrnasu drwy bob dosbarth o gymdeithas. A pherffeithid y difoesoliad cyffredinol gan faingc o esgobion gwenieithus, ymhlith pa rai nid oedd dyn ym meddu teimlad digonol o'i ddyledswydd at Grist ac eneidiau Cristionogol i argyhuddo y cyflwr ffiaidd hwn ar bethau. Nid oes dim a ellir ei gofnodi o Mai, 1660, sef dyddiad dyfodiad Siarl II. i'r orsedd, hyd ei farwolaeth, Chwef. 6ed, 1685, ond a ddichon yn hawdd ddwyn cywilydd i wyneb pob Sais moesol a gwladgarol. Darllenwn am flwydd-dalion a dderbyniwyd o Ffrainc; am frenin yn proffesu Protestaniaeth ac ym marw yn Babydd; am esgobion yn cyrchu i "brif leoedd satan," ac yn nwyfweini i bechod a gwarthusrwydd o herwydd eu bod yn freninol a phendefigol; am fradwriaethau iselwael wedi eu dyfeisio gan anfadwyr, a'u dwyn ymlaen drwy anudoniaeth cyffredinol; am lŷs wedi ei lenwi â meddwdod, gloddest, a phenryddid; ac am y bobl yn dylyn ei esiampl yn lle ei fwrw allan o'r deyrnas. Mae

y farn fawr ar y cyfryw bechodau gwladwriaethol yn cael ei chadw i'w chyflawni ym mhresenoldeb y bydysawd ymgynulledig; ond ni phallodd yr Hollalluog erioed a thystiolaethu pa beth fydd y farn hono drwy ymweliadau presenol cyffelyb ar raddfa lai; ac yn yr engraifft hon ysgubodd ymaith 100,000 o boblogaeth Llundain—golygfan y ffieidddra hyn, drwy y Plâ Mawr, o.c. 1665, ac yn y flwyddyn ganlynol distrywiodd y rhan fwyaf o'r ddinas ei hun drwy y Tân Mawr—ymweliadau a haeddwyd yn helaeth gan y brenin, yr eglwys, y bendefigaeth, a'r cyffredin.

Bu farw Siarl II., Chwef. 6ed, 1685,a chladdwyd ef ym Monachlys Westminster. Dylynwyd ef i'r orsedd gan ei frawd Iago II. Yn y teyrnasiad hwn y dygwyddodd y Chwyldroad yr hwn a achoswyd drwy'r ymgais a wnaeth Iago i osod i fyny y grefydd Babaidd yn lle y grefydd sefydledig Brotestanaidd. Rhoddodd y wlad alwad i'w nai a'i fab-yng-hyfraith, Gwilym o Orange, yr hwn os na byddai gan Iago eppil, oedd yr etifedd agosaf i'r orsedd. Ffôdd Iago at Louis XIV. i Ffrainc. Pleidleisiodd y senedd fod ei ffôedigaeth yn fath o roddi i fyny yr orsedd. Dygwyd i mewn y Freint-ysgrif (*Bill of Rights*,) yr hon oedd yn darnodi yr uchfreintiau breninol a rhyddfreiniau y deiliaid —yr hyn oedd ddychweliad mewn effaith at gyfansoddiad cyntefig Prydain—a llaw-arwyddwyd hi gan Gwilym a Mair, y rhai ar hyny a gyhoeddwyd yn frenin a brenines, ac a goronwyd yn Westminster, yn 1688. Yr oedd Iago ym moreu ei oes yn ddyn o synwyr, a chadfridog dewrwych; ond cyn gynted ag y syrthiodd dan ddylanwad y grefydd Babaidd, mawreiddiwyd ei gyneddfau gan goelgrefydd—daeth yn un anwadal; dynodwyd ei holl fesurau gan wendid a gorphwylldra, a bu farw mewn cyflwr o wallgofrwydd, Medi 16, 1701. Gadawodd ar ei ol o'i wraig gyntaf, sef Ann, merchHyde, Iarll Clarendon—Mair, yr hon a briododd Gwilym o Orange,—Ann, yr hon a ddaeth wedi hyny yn frenines, a chwech o blant eraill. Ganed iddo o'i ail wraig, sef Mair D'Este, merch duc Modena, Iago Ffrainc Iorwerth, yr hwn a elwid yn gyffredin yr Ymhonwr.

Yr oedd y chwyldroad yn 1688, fel y diwygiad, ym mhell oddiwrth fod yn ddaioni digymysg; canys trosglwyddodd mewn gwirionedd y llywodraeth i ddwylaw ychydig o deuluoedd pendefigaidd. Er na fwriedid hyny gan y bobl, terfynodd mewn sefydlu cyfansoddiad pendefigaidd. Rhan-

odd y ddwy blaid, sef y Toriaid a'r Whigiaid, yr awdurdod ddeddf-wneuthurol a gweinyddol rhyngddynt—yr enwau "Uchelfraint" gan y rhai blaenaf, ac "y Bobl" gan yr olaf, yn cael eu defnyddio yn benaf fel dolefau neu ffug-esgusion i hyrwyddo eu llês eu hunain, y naill blaid mor drwyadl bendefigaidd a'r llall—y Doriaidd yn fwy gonest a'r Whigiaidd yn llai ataliedigol o'r ddwy. Mae hanesiaeth y chwyldroad hwn yn 1688 hyd yn hyn wedi cael ei hysgrifenu gan y bendefigaeth a'u hymbleidwyr yn unig —i ba rai yn ddiddadl yr oedd yn "chwyldroad gogoneddus," canys taflodd y llywodraeth yn hollol i'w dwylaw hwynt, gan wadu i fesur mawr fodolaeth y bobl, a throsglwyddo i brif weinidog y blaid oedd mewn awdurdod holl uchfreintiau y goron. Mae ei hanesiaeth gan y weriniaeth i'w hysgrifenu eto. Y prif fanteision a roddodd i'r wlad oeddynt, yn 1af, cadarnhaodd yr egwyddor fod pob llywodraeth yn gyfrifol i'r bobl; ac yn 2il, nad oes gan esgob Rhufain unrhyw awdurdod eglwysig, nac mewn un modd arall, ym Mhrydain. Ei anfanteision oeddynt, ei fod wedi galluogi y bendefigaeth i daflu y wlad am y ganrif ganlynol i râdd-ryfeloedd (*caste wars*,) er llethiant rhyddid, neu roddi cefnogaeth i deyrn-linachau pydredig ac anmhoblogaidd mewn gwledydd eraill; ac mewn canlyniad ei dyrysu yn ei dyled fawr bresenol o £800,000,000. O dan aflywodraeth yr ymbleidiau seneddol hyn, cafodd Cymru ei dieglwysoli,—gogleddbarth yr Alban ei diboblogi, a phlanwyd coedwigoedd ceirw yn lle cartrefi y boblogaeth filwraidd fu yno gynt,—yr Iwerddon ei chadarnhau mewn Pabyddiaeth, a'i phobl eu gyru i ymadawiad gwladol. Gan fod y gorbwysedd, beth bynag, ar ochr cynnydd a rhyddid crefyddol, bydd i chwyldroad 1688 bob amser ennill cymeradwyaeth y cenedlaethau dyfodol. Mae'n ofid calon meddwl fod ym mhlith goruchwylwyr y chwyldroad cyn lleied o gymeriadau o wir werth ac anrhydedd. Yr oedd Gwilym III., yr hwn a ddylynodd ei ewythr, yn meddu barn wleidyddol a galluoedd milwraidd nodedig; ond uwchlaw y cymhwysderau hyn nid oedd dim braidd yn ei fywyd na'i galon yn rhoddi hawl iddo i eilunfa uchel yn nheml hanesiaeth. Yr oedd yn ddirmygus yn ei ddynsawd, yn wrthun yn ei iaith, yn oeraidd yn ei deimlad, ac yn frwnt yn ei foesau; enciliai y pendefigion yn y diwedd o'i lŷs, ac ni bu erioed yn boblogaidd gyda'r wlad yn gyffredin. Ennillodd frwydr

Boyne, oddiar Iago, Gorph. 1, 1690. Drwy heddwch Ryswick, 1697, cydnabyddwyd ei hawl i'r goron gan Louis XIV. Y mae cyflafan Macdonaldiaid Glencoe, yn yr Alban, drwy orchymyn Gwilym, yn aros yn ystaen dû ar ei goffawdwriaeth. Bu farw drwy gwymp oddiar ei farch, yn Kensington, Mawrth 8ed, 1702, yn ddieppil.

Yn nheyrnasiad Gwilym y codwyd y gatrawd 23ain Chwarfynwyr Breiniol Cymreig, (*Royal Welsh Fusiliers*). Gwelir crynodeb o'u gwasanaeth, tu dal. 240.

Olynwyd Gwilym III. gan Ann, ail ferch Iago II. Ei hanner brawd, sef y tywysog Iago Ffranc Iorwerth, mab hynaf Iago, Pabydd, a ystyrid gan blaid gref fel y gwir etifedd. Oddiwrth ffurf Lladinaidd yr enw Iago—*Jacobus*, daethant yn adnabyddus yn gyffredinol fel Jacobiaid. Cyfrifent yn eu plith rai o'r teuluoedd galluocaf yng Nghymru, y rhan fwyaf o dylwythau Ucheldir yr Alban, a holl boblogaeth Babyddol yr Iwerddon. Dylid sylwi fod y Stuartiaid, mewn eithriad rhyfedd i'w gwladlywiaeth yn Lloegr, wedi gweithredu gyda doethineb a chyfiawnder hynodol tuag at Gymru. Cefnogid syniadau traddodiadol y Cymry; yr oedd yr Esgobion a benodid i'r esgobaethau Cymreig naill ai yn Gymry brodorol neu yn hollol hyddysg yn yr iaith a llenyddiaeth y bobl; ac ni ddygid i mewn unrhyw fesur ond a gyfrifid yn rhagorol i sicrhau y serch gwladwriaethol tuag at y goron a'r eglwys. Fel canlyniad naturiol, er fod Cromwel oddiwrth ei fod yn Gymreig drwy âch, cydberthynas, a disgyniad, wedi derbyn rhyw gymaint o gefnogaeth gan ei gydwladwyr, bu y faner freninol yn ystod y rhyfel gwladol yn chwyfio mewn heriant goruwch castelli Cymru yn hir ar ol iddi gael ei thynu i lawr ym mhob parth arall o'r deyrnas. Ac yn 1688, er fod y Cymry drwy eu serchymlyniad wrth achos rhyddid, yn cydsynio i ddiorseddu Iago, eto yr oeddynt drwy eu teyrngarwch greddfol yn wrthwynebol i ymweled gyda phechod y tad ar y plentyn diniwed. Parhaodd eu cydymdeimlad mewn mesur helaeth gyda'r teulu alltudiog, a daethant yn wrthrychau o amheuad cryf i'r llywodraeth ag oedd mewn awdurdod.

Cefnogwyd hawliau y tywysog Iago Iorwerth i'r orsedd gan Louis le Grand (XIV) o Ffrainc, pan yr oedd ef ei hun yr un amser yn hawlu y tiriogaethau Hispaenaidd. Er cadw cyfartaliad gallu yn Ewrop, a chryfhau y chwyldroad *Saesonig*, cyhoeddwyd rhyfel, yn ystod pa un yr arweiniodd

Ioan Churchill, duc Marlborough, am y tro cyntaf er o.c. 540, fyddin Frutanaidd i ganolbarth yr Almaen. Y rhai canlynol oeddynt y prif frwydrau yn ystod y rhyfeloedd hyn:—

Buddugoliaeth yn Vigo, yn Gallicia, Yspaen, Hyd. 12, 1702.
Buddugoliaeth yn Blenheim, dan Marlborough, Awst 13, 1704.
Cymeriad Gibraltar, Gor. 24, 1704.
Buddugoliaeth yn Ramilies, yn yr Iseldiroedd (Netherlands,) Marlborough, Mai 23, 1706.
Brwydr Almanza, Portugal, Ebrill 14, 1707.
Brwydr Oudenarde, dan Marlborough, Gor. 11, 1708.
Brwydr Malplaquet, dan Marlborough, Medi 11, 1709.
Brwydr Saragossa, Hispaen, Awst 9, 1710.
Brwydr Denain, Ffrainc, 1712.

Gan fod adgyfnerthoedd Ffrainc wedi eu llwyrdreulio, gorfodwyd Louis XIV. i erfyn am heddwch, yr hwn a wnaed yn Utrecht, Ebrill, 1713. Gwobrwywyd gwasanaeth milwraidd ardderchog Marlborough â duciaeth, a sefydlwyd arno ef a'i deulu etifeddiaeth a breninlys Blenheim, yn agos i Woodstock.

Unwyd Lloegr a'r Alban, ond nid heb wrthwynebiad mawr, yn o.c. 1706, a chyfarfyddodd y senedd Frutanaidd gyntaf Hydref 24, 1707.

Terfynodd y freninlin Stuartaidd gydag Ann, yr hon a ddylynwyd gan y teulu Guelphic o Hanover, yn nynsawd Sior I, o.c. 1714.

Nid oes dim yn nheyrnasiad y brenin hwn i'w hynodi os gadawn allan y gwrthryfel yn yr Alban dan lyw iarll Mar, yn ffafr y Stuartiaid, yr hwn a ddymchwelwyd yn ebrwydd drwy fuddugoliaethau ar y terfysgwyr yr un diwrnod yn Sheriffmuir, yn swydd Perth, ac yn Preston, yn swydd Caerwerydd, Tach. 12, 1715. Daeth Tŷ y Cyffredin, yr hwn oedd yn gynnwysedig gan mwyaf o enwedigwyr y bendefigaeth, yn ddim gwell o'r bron na chydgorfforiad ymunedig er gosod dosbarth-drethi ar y wladwriaeth; a than y gweinidog Whigaidd, Syr Robert Walpole, dirywiodd senedd Prydain nes myned yn gorff o wyr mwyaf llygredig a diegwyddor ond odid yn Ewrop. I'w galluogi i fod felly yn annghosbadwy, dirymwyd deddf Gwilym III., drwy yr hon fel cyfran o'r chwyldroad, yr oedd y senedd i gael ei hail ethol bob tair blynedd; a phasiodd y Whigiaid y ddeddf seithflwyddol, yr hon a'i hestynai i saith mlynedd

o barhad. Drwy y ddeddf hon diddymwyd elfen werinol y chwyldroad, a sicrhawyd goruchafiaeth y bendefigaeth.

Yn y teyrnasiad hwn hefyd y dadymchwelodd y llywodraeth y diwygiad yng Nghymru, dan rith cosbi y gwladogion Cymreig am eu tueddiadau Jacobaidd, ac y pennodwyd i'r eglwys esgobion ar egwyddorion Pabaidd, yn hollol anwybodus o'r iaith, a gelynol at bob ffurf o eiddo yr hen genedligrwydd. Gyda chenedl ddewrwych ac ysprydlawn dechreuodd y canlyniadau ddangos eu hunain yn fuan. Oerfelgarwch tuag at eglwys sefydledig ag oedd fel hyn wedi ei gwyrdroi yn sarhâd cenedlaethol a ddylynwyd yn fuan gan ddiystyrwch at ei hesgobion a'i chlerigwyr, a chyda pharhad o'r gyfundrefn y dylynodd gwrthgiliad y cyffredin o'i chymundeb, a chodiad mewn gwrthwynebiad iddi y sefydliad ymneillduol neu boblogaidd ag sydd yn awr yn gorchuddio bryniau a dyffrynoedd y Dywysogaeth.

Bu farw Sior I. yn Osnaburg, Mehefin 17eg, 1727, a dylynwyd ef gan ei unig fab, Sior II. Yr oedd y ddau frenin hyn yn wyr cyffredin a syml, yn benaf yn nodedig am eu hollol ddiffyg o ddealltwriaeth—yn wir yr oedd Sior II. ym mynwesu rhyw fath o gasineb unorphwyllog at gelf, llenyddiaeth, a gwyddawr ym mhob ffurf. Drwy eu hanwybodaeth o'r iaith Saesonig, eu harferion crintachlyd, a'u tueddgarwch at eu perthynasau tramor, pallasant a gwneyd dim ffordd yn serchiadau pobl Lloegr. Yr oedd y cymeriad marwaidd hwn yn cyfansoddi, beth bynag, ganmoliaeth yn hytrach na beiad, ym mhenaduriaid cyfansoddiad ag yr oedd ei wir weithrediad wedi ei osod yn nwylaw ychydig o deuluoedd mawrion. Rhaid i'r prif le yn mhob cyfansoddiad gael ei lenwi gan rhyw un, ac yn y fath lywodraeth ag yw yr un Frutanaidd nid yw ond o ychydig bwys gan bwy, os bydd natur diddadledig yr hawlfraint yn atal ymrysonau gwladol, a'r meddianydd yn dangos esiampl o ufudd-dod i ddeddfau moesol Duw a sefydliadau y wlad.

Y rhyfeloedd yn y teyrnasiad hwn oeddynt,—1af, rhyfel 1739, yn erbyn yr Hispaen; 2il, yn erbyn Ffrainc, 1742. Llywyddid y lluoedd Brutanaidd gan Sior I. yn bersonol gyda gwroldeb mawr yn Dettingen, Meh. 16, 1743. Gorchfygwyd y Brutaniaid ym mrwydr Fontenoy gan y clodfawr gadlywydd Saxe, Ebrill 30, 1745. 3ydd, gwrthryfel y tywysog Siarl Stuart, a elwid yr Ymhonwr ieuanc, yn yr Alban, *1745.* Ennillodd fuddugoliaeth Preston Pans, yn

agos i Gaereiddin, Medi 20, 1745,—dymchwelodd Gaerliel, a sefydlodd ei hun ym Manceinion, Tach. 29. Pan yn myned yn mlaen i Derby torodd anghydfod allan ym mhlith ei luoedd, a derbyniwyd hysbysrwydd fod yr arian oedd ynghadw yn Llundain ar ran y rhyfelgyrch wedi eu taflu drwy fradwriaeth i ddwylaw y llywodraeth. Cennadwyr oddiwrth Syr Watcin Wynn o Wynnstay ac eraill Jacobiaid dylanwadol o Gymru, a erfyniasant yn ddifrifol ar i'r tywysog amddiffyn ei hun yn Derby hyd nes y gellid ei adgyfnerthu gan gyfran o'r milwyr Cymreig; ac ymdrechodd y tywysog ieuanc hyd eithaf ei allu wneyd hyny; ond gorthrechwyd ei bleidlais ef yn y cynghor. Dechreuwyd encilio o Derby, a gorchymynwyd i'r Cymry ag oedd ar fin croesi yr Hafren fyned yn ol gan y tywysog, gyda'r dywediad ardderchog, fod "gwaed gormod o wyr dewrwych eisoes wedi ei dywallt mewn achos anobeithiol." Pan yn encilio i'r Alban, enillodd frwydr arall yn Falkirk, Ion. 17, 1746; ond gorchfygwyd ef yn diwedd gan Duc Cernyw wrth ben y lluoedd Saesonig ac Isellmynaidd yn Culloden, Ebrill 16, 1746; ac ar ol cyfarfod â llawer o ddiffygion efe a ffôdd i Ffrainc. Bu farw yn Fflorence, 1784. Nid oes genym un engraifft mewn unrhyw gyfnod blaenorol—Rhufeinig, Arthuraidd, Saesonaidd neu Normanaidd, i Fynyddwyr Celtaidd yr Alban dreiddio mor bell i ddeheubarth Lloegr ag yn yr ymgyrch yn 1745. Ni threiddiodd y Pictiaid a'r Albaniaid yn nheyrnasiad Gwrtheyrn ddim pellach na Stamford yng Nghaerlwytcoed; ac y mae hyny yn rhyfedd fod senedd Prydain wedi defnyddio yn union yr un ddyfeisfodd, sef cyflogi Teutoniaid neu Isellmyniaid i gilgwthio ymgyrch Mynyddwyr yr Alban, ag a ddefnyddiodd Gwrtheyrn yn y bumed ganrif i gilgwthio ymgyrch Pictiaid yr Alban. Mwyheir dyddordeb y dygwyddiadau cyfochrog hyn gan y ffaith mai megys y cyflogwyd y Teutoniaid gan orsedd Prydain i amddiffyn ei thiriogaethau gartref o fewn deugain mlynedd i'r amser yr oedd Cystenyn II. o Lydaw wedi plànu y faner Frutanaidd fuddugoliaethus ym mhrif ddinasoedd Ffrainc a'r Hispaen, (gwel tu dal. 124,) felly gorfu ar y llywodraeth Saesonig gyflogi milwyr tramor i wared hyd yn oed ei bodolaeth gartref, o fewn deugain mlynedd i'r amser pan yr oedd Marlborough wedi cario bri arfau Prydain ar y Cyfandir i ben uchaf gogoniant. Fel hyn gall un oes weled pobl wedi cyfnewid o fod

yn genedl filwraidd i fod yn un anfilwraidd—o fod yn anfilwraidd i fod yn genedl filwraidd. Mae yr un wladlywiaeth waradwyddus, yn llawn o hadau perygl, o gyflogi milwyr tramor i ymladd brwydrau Brutanaidd, wedi cael ei mabwysiadu unwaith drachefn—hyderir am y tro diweddaf, yn y rhyfel Rwsiaidd ddiweddar. Rhaid yw yr ystyrir bob amser fethiant gwrthryfel Mynyddwyr yr Alban yn 1745, fel bendith wladwriaethol. Nis gallasai ei lwyddiant gael unrhyw effaith arall heblaw mynychiad o ryfeloedd gwladol. Gallwn ar yr un pryd dalu ein llawn deyrnged o anrhydedd i'r gwyr dewrwych a aberthasant fywyd ac eiddo yn eu gwaith yn cyflawni yr hyn a gredent oedd ddyledswydd o ffyddlondeb i'w penadur—yr hwn oedd yn fwy anwyl ganddynt o herwydd ei ieuengtyd, ei wroniaeth, a dyoddefiadau ei deulu mewn gwlad estronol. 4ydd, Rhyfel â Ffrainc, o.c. 1756, a derfynodd yn 1763. Drwy y rhyfel yma yr ychwanegodd Prydain y rhan fwyaf o Ogledd Amerig a'r India Orllewinol at ei hymerodraeth.

Bu farw Sior II. yn ddisymwth o rwygiad y galon, yn Kensington, Hyd. 25, 1760. Olynwyd ef gan ei ŵyr, Sior III., mab Frederic Tywysog Cymru. Gwnai adroddiad syml yn unig o'r cyfnewidiadau pwysig a ddygwyddodd drwy yr holl fyd gwareiddiedig yn ystod hir deyrnasiad y brenin hwn, gyfrol go fawr. Gan y rhaid eu bod yn hysbys i'n darllenwyr, ni wnawn yma un sylw arnynt. Caiff y rhan fwyaf o'r dygwyddiadau milwraidd eu cofnodi yn fyr yng "ngwasanaeth y 23ain Chwarfynwyr." Darostyngwyd India, drwy athrylith Clive, Hastings, Wellington, a chadfridogion a gwleidiadwyr galluog eraill, i'w ffurf bresenol o fod yn dalaeth o ymherodraeth Prydain. Ond collwyd ar y llaw arall y rhan fwyaf o Ogledd Amerig, ac y mae'n awr yn cyfansoddi yr Unol Daleithiau. Darfu gorthrymiad y gwladeiddwyr yn Ffrainc—llygredigaeth y clerigwyr, y llŷs, a'r pendefigion—methdaliad y cyllidau gwladwriaethol—distrywiad pob atalfa moesol yn erbyn camwedd a phenryddid, drwy angrhediniaeth cyffredinol yn natguddiad dwyfol Cristionogaeth, ddwyn oddi amgylch y Chwyldroad Ffrengig yn 1789. Mae cadwraeth trefn ac eiddo mewn gwladwriaeth yn dibynu uwchlaw pobpeth arall ar ei gwaith yn cydnabod y grefydd Gristionogol; canys y mae yn afresymol meddwl y bydd i'r tylodion, os deuant unwaith i angrhedu bod byd arall, fyth ymostwng yn amyn-

eddgar i edrych ar holl bethau da y byd hwn yn cael eu gorfaelu gan un dosbarth bach—sef y cyfoethogion. Mae angrhediniaeth ar ran corff y bobl yn cynnwys o anghenrheidrwydd ymddatodiad cymdeithas a'i gwaith yn ymollwng i aflywodraeth didduw a digyfraith; a chefnogodd y llŷs Ffrengig, yr eglwys, a'r pendefigion, eu distryw eu hunain drwy ddirmygu yn wagfolachus yr unig egwyddorion ar ba rai y gellir llywodraethu dynolryw, a thrwy broffesu eu hunain yn ddysgyblion i Voltaire a'i athrofa. Aeth y bobl Ffrengig ym mlaen i ymddwyn tuag atynt yn ol eu cyffesiadau eu hunain o angrhediniaeth a phenryddid, a'r Chwyldroad Ffrengig, ynghyda'i olygfëydd gwaedlyd ac ofnadwy, a ddylynodd. Torwyd pen Louis XVI. a'i frenines Marie Antoinette gan werindorf greulawn, o.c. 1793. Ymddygodd Lloegr yr un fath tuag at Ffrainc o ochr y Bourboniaid, ag yr ymddygodd Ffrainc, dan Louis XIV., tuag ati hithau ymhlaid y Stuartiaid, ac yn y diwedd heb un gwell llwyddiant. Cylchdröai rhyfeloedd y Chwyldroad Ffrengig o amgylch delw ganolog Napoleon Bonaparte—y cymeriad mwyaf hynodol o eiddo y bedwaredd ganrif a'r bymtheg, gyrfa filwraidd yr hwn a derfynodd ar faes Waterloo, yn 1815, gan adael Ffrainc wedi ei hyspeilio o'i holl longau, ei threfedigaethau, a'i thrafnidiaeth, a'i thiriogaeth ei gwarchluyddu am flynyddoedd, fel dan deyrnasiad yr hên oresgynwyr Brutanaidd, gan fyddin Frutanaidd. Modd bynag ni fu adferiad y Bourboniaid ond o fyr barhad; taflwyd y teulu o'r orsedd, yn ystod oes arall, gan chwyldroadau newyddion, ac etholwyd nai Napoleon I., sef Louis Napoleon, y llywodraethwr presenol, i'r ymherodraeth. Mae egwyddor rhyfeloedd teyrnlinachol a phendefigaidd yn teilyngu y dyfarniad gerwinaf; a chyn belled ag y taflodd Prydain ei hun i'r rhyfel yn ffafr teulu mor aniolchgar, trofaus, a dirym ag oedd y Bourboniaid, nis gall yr hanesydd diduedd gyfiawnhau ei gweithrediadau; ond peidiodd y ddadl yn fuan a bod o'r nodweddiad cyfyngedig hwn, a gorfodwyd hi drwy ryferthwy anataladwy o amgylchiadau, i ymladd hyd yn oed am ei bodolaeth ei hun, ar fwy nag un achlysur yn erbyn y byd mewn arfau. Er amser yr ail arwedd hon o eiddo y rhyfel, mae pobl Prydain yn teilyngu y ganmoliaeth fwyaf am yr yspryd a'r anhyblygedd gwronaidd gyda pha rai y dygasant yr ymdrech i derfyniad buddugoliaethus. Cyflawnwyd amryfuseddau dirif yn y-

tod y gwaith o'i dwyn ymlaen; a lladdwyd llawer mwy o filwyr Brutanaidd, fel yn rhyfelgyrch diweddar y Crimea, drwy anghymwysder y llywodraeth gartref, mewn cysylltiad â chyttwylledd haner bradwrus y gwrthwynebwyr Whigiaidd gyda'r gelyn, nag a laddwyd gan belenau a bidogau Ffrainc a'i chyngrheiriaid tramor; ond cyflenwid diffygion ei llywodraethwyr gan galon ac adnoddau y weriniaeth eang. Ac ni ddylid anghofio, ond i ni adael heibio ei fedrusrwydd milwraidd mawr a grym ei ewyllys, nad oedd unrhyw deithi yn Napoleon Bonaparte, a llai fyth yn ei gadfridogion, a thuedd ynddynt i ennill edmygedd haelfrydig unrhyw elyn. Yr oedd yn un oeraidd, hunangar, a hollol amddifad o'r yspryd ag sydd yn ymroddi i ryw egwyddor uwch nag a gyflenwir gan y byd, ag sydd,er mwyn ffurfiau amheuol, yn rhoddi i'r gwroniaid Arthur, Charlemagne, Godfrey o Boulogne—ac mewn goleuni pruddach, i Cromwel, fawrwychedd hanesol, ond hollol ddynol, pan nad yw cadflaenoriaid Ffrengig y chwyldroad yn cyffwrdd ag un tant o'n natur fewnol. Mae yr absenoldeb hwn o'r elfen o wroniaeth crefyddus, yn nodwedd angeuol a diraddiol yn holl filwyr athrofa Napoleon. Yr oedd y ddau arweinydd Brutanaidd mwyaf clodfawr yn y rhyfel Orynysol eill dau o waed Cymreig— sef Arthur, Duc Wellington, (a elwid felly ar ol y brenin Arthur,) a Thomas Picton. Yr oedd mam y duc yn ferch i hen deulu Cymreig Trefor, o Fryn-y-pys, swydd Dinbych, ym mha le hefyd y treuliodd gorchfygwr dyfodol Napoleon lawer o amser ei fachgendod. Ganed y cadflaenor Picton yn Neheubarth Cymru, o'r teulu ag sydd er yr oesau boreuaf wedi rhoddi milwyr hynod i Brydain—sef teulu Urien Rheged, neu linach "Y Brain." Cwympodd ym mrwydr Waterloo.

Sior III., ar ol teyrnasu am dri ugain mlynedd, a olynwyd, Gorphenaf 19, 1821, gan ei fab hynaf Sior IV. Taflwyd y wlad i alar diffuant drwy farwolaeth y Dywysoges Charlotte, Tach. 6, 1817, ar ol rhoddi genedigaeth i fab marw. Yr unig ryfel yn y teyrnasiad hwn a gymerwyd mewn llaw yn erbyn Twrci, er dyogelu annibyniaeth Groeg, a therfynwyd ef drwy frwydr Navarino. Gan i Sior IV. farw heb eppil gwryw, Meh. 26, 1830, esgynodd ei frawd, Duc Clarence, i'r orsedd dan y titl Gwilym IV. Ar ei farwolaeth ef, Meh. 20, 1837, yn y ddeuddegfed a thri ugain *mlwydd o'i* oedran, disgynodd yr olyniaeth ar unig ferch

ei frawd, Duc Caint, sef ein presenol radlonaf Fawrhydi y Frenines Victoria—yr hon, Duw a'i cadwo yn hir.

Yn holl ryfeloedd Prydain er dyfodiad y Tuduriaid i'r orsedd, mae Cymry Cymru a Chymry Saesonig Lloegr wedi cymeryd rhan anrhydeddus. Mae miloedd lawer yn wasgaredig gyda'u cyd-ddeiliaid o Loegr, Iwerddon, a'r Alban, drwy yr amrywiol gatrodau yng ngwasanaeth ei Mawrhydi, a miloedd lawer ar longau rhyfel ei Mawrhydi. Mae profiad canrifau gwedi arddangos fod defnyddiau greddfol milwr i'w cael mewn godidogrwydd cyfartal yn holl bedair cenedl yr ynysoedd Brutanaidd—nad oes un o honynt ym meddu uchafiaeth naturiol dros arall; ac yn unedig dan yr un faner a dysgyblaeth, eu bod yn ffurfio byddin gystal ag un ddichon y byd gynnyrchu. Rhaid i'w rhagoriaeth ym maes y gâd, fel eiddo pob arf arall, ddibynu i radd fawr ar y medrusrwydd gyda pha un trinir hwynt; ond gallwn fod yn sicr na fydd i un cyfnewidiad yng ngolygiad rhyfel—un ddyfais newydd o arfau neu daflbethau ergydiol, ddinystrio y manteision anianol a feddienir gan y milwr Brutanaidd ar y nifer mwyaf o genedloedd eraill. Mae y pedair cenedl, fel rheol, yn cyfranu at ffurfiad pob catrawd yng ngwasanaeth Prydain, ond y mae rhai yn fwy cenedlaethol nag eraill—megys y Mynyddwyr Albanaidd, Gwibiaid Connaught, a'r Chwarfynwyr Cymreig. Nid am fod un o honynt yn gynnwysedig o bersonau o un genedl yn unig, nac hyd yn oed rai prydiau yn cynnwys y mwyafrif o'r cyfryw bersonau, ond gan eu cymeryd yn gyffredinol, fod rhyw gyfran o filwyr cyffredin, er amser eu ffurfiad cyntefig, wedi bod ynddynt o'r genedl enw yr hon a ddygant. Pan yn rhoddi y crynodeb byr canlynol o wasanaeth y Chwarfynwyr Cymreig(y 23ain,) y mae'n dra phell o'n bwriad wadu gwasanaeth y gatrawd Gymreig hynod arall, sef yr 41ain, neu eiddo y milwyr Cymreig lluosog ag sydd mewn catrodau eraill——neu arwyddo na ddarfu Saeson, Albaniaid a Gwyddelod, yn ei rhengau, gydgynnorthwyo er ennill bri iawn-sefydledig yr "hên Gymry gogoneddus." Yr ydym yn ei roddi fel yr arddangosiad goreu a oddefir gan gyfansoddaeth y fyddin Frutanaidd o'r rhan a ddygwyd gan y Cymry, er o.c. 1688, yn eu gwaith yn gweinyddu er anrhydedd a chadernid yr ymherodraeth. Os cyraedd y gwaith hwn ail-argraffiad, bydd i wasanaeth yr 41ain gatrawd gael ei roddi hefyd i mewn ynddo.

Trydydd Gatrawd a'r hugain y Llinell, y Chwarfynwyr Breiniol Cymreig, a godwyd gyntaf yng Nghymru a'i chyffiniau, gan Harri Arglwydd Herbert, dan gyfarwyddiadau oddiwrth Gwilym III., Mawrth 17eg, 1689. Rhoddwyd y pencatrodaeth i berthynas Arglwydd Herbert, sef Siarl Herbert. Yr oedd y gatrawd yn gynnwysedig o 13 o fynteioedd, pob un yn cynnwys 60 o filwyr cyffredin, 2 dabyrddwr, 3 dengwriad, a 3 rhingyll, h.y., oddeutu 800 o wyr i gyd. Mae'i llawnrif yn amser rhyfel yn awr yn 1200 o wyr.

Ar y 1af o Fehefin, 1690, cymerodd y 23ain ran ym muddugoliaeth Boyne, yn yr Iwerddon—yng ngwarchäedigaeth Limerick—ym muddugoliaeth Ballymore, Mehefin 3ydd, 1691—buddugoliaeth Aghrim, Gor. 12ed, yn yr hon y cwympodd y Pencatrodwr Herbert—rhoddiad i fyny Galway—cymeriad Huy, yn Fflanders, 1694—cymeriad Namur—gwarchäedigaethau Venloo Puremonde, a Liege, 1702, dan Marlborough, yn rhyfel yr olyniaeth Hispaenaidd yn erbyn Louis XIV—rhuthr ar fryniau Schellenberg, Gorphenaf yr 2il, (lladdwyd 5 swyddog, ac archollwyd 11, lladdwyd 60 o filwyr cyffredin y gatrawd, ac archollwyd 156,)—buddugoliaeth Blenheim, Awst 13eg, 1704, (archollwyd 9 swyddog,)—tori drwy atalgloddiau arswydlawn Helixen, Gor. 17eg, 1705—buddugoliaeth Ramilies, Mai 23ain—cymeriad Ostend, Menin, Dendeim, ac Aeth,—buddugoliaeth Oudenarde, Gor. 17eg, 1708—cymeriad Lisle, a ystyrid hyd y pryd hyn yn anorchfygadwy, a Ghent—buddugoliaeth Malplaquet, Medi 11eg, 1709, pan oedd coll bywyd o'r ddwy ochr yn fwy nag yn Blenheim, Ramilies, ac Oudenarde ynghyd—cymeriad Mons a Tournay. Drwy y brwydrau olynol hyn yr oedd y 23ain wedi ei lleihau fel nad oedd ond dau swyddog yn unig yn alluog i gymeryd y maes. Yn 1710–11–12 cymerodd ran yng ngwarchäedigaethau Douay, Bethune, St. Venant, Aire, Bouchain, Quesnoy, ac yn y gwaith o gadw meddiant o Dunkirk. Llaw-nodwyd cytundeb Utrecht, Ebrill 11eg, 1713, yn sicrhau Nova Scotia, tiriogaeth Cwmpeini Hudson Bay, Newfoundland, Gibraltar, a Minorca, i Brydain. O'r dyddiad hwn hyd 1739, nid oedd un fyddin Frutanaidd mewn gwasanaeth ar y Cyfandir.

Rhyfel yr olyniaeth yn yr Almaen ar ran Maria Theresa, brenines Hungari, ac archdduges Awstria. Glàniodd y fyddin Frutanaidd, yn cynnwys y 23ain, yn Fflanders, 1742; cymerodd y 23ain ran ym muddugoliaeth Dettingen, dan lyw Sior II. yn bersonol, Meh. 26ain; bu farw y pencatrodwr Peers o'i archollion.—Brwydr Fontenoy, Mai 11eg, 1745, yn yr hon yr oedd y Ffrangcod o dan y cadfridog Saxe yn fuddugoliaethwyr, ond dyoddefasant yn dostach na'r Brutaniaid. Yr oedd colled y 23ain, yr hon oedd yn ffurfio rhan o'r ysgwâr Frutanaidd a safodd ei thir yng nghanol y fyddin Ffrengig am ddwy awr, yn rhifo 22 o swyddogion wedi eu lladd a'u harcholli, ac ar goll, ac 181 o filwyr cyffredin wedi eu gadael yn farw ar y maes—brwydr Val, Gorphenaf 2il. Llawnodwyd cytundeb Aix-la-chapelle, yn sicrhau ei thiriogaethau etifeddol i Maria Theresa, Hyd. 7, 1748. Arosodd y 23ain yn ei gwersyll gartrefol hyd 1755, pan y glaniodd ym Minorca, ac mewn cysylltiad â'r 4ydd, 24ain, a'r 34ain Catrodau, y safodd warchäedigaeth nodedig Port Philip, "gorchestwaith o wrthwynebiad gan ychydig yn erbyn niferi," medd Beatson, (Brutiau Milwraidd), na cheir braidd ddim mewn hanesiaeth tebyg iddo. Ymunodd y 23ain, â'r fyddin yn yr Almaen, a bu o wasanaeth dirfawr ym muddugoliaeth ardderchog Minden, Awst 1af—cymerodd ran ym mrwydrau Warbourg a Campden, 1760—a Grabansteine, 1762. Llawnodwyd Heddwch Fontainbleau, yn rhoddi Gogledd Amerig a'r rhan fwyaf o'r India Orllewinol i Brydain, Gor. 10, 1763. Rhyfel Annibyniaeth Amerig,—glàniodd y 23ain yn Boston a bu ar waith yn ysgarmes Lexington—brwydr Bryn Bunker, ym mha le y gwnaed rhuthrgyrch ar y gwarchgloddiau Americanaidd â blaen y bidog; blaenorai y23ain y pleidiau rhuthrgyrchol deirgwaith yn olynol, a lladdwyd *neu* archollwyd pob swyddog—ac ym muddugoliaeth y Gwastadedd Gwyn, *Hyd. 28ain—yng* nghymeriad Caerfa Washington, Tach. 16ed—a Dunbury,

Ebrill 12ed, 1777—ym muddugoliaeth Ridgefield y dydd canlynol—ym muddugoliaeth Brandywine Medi 11—yng nghymeriad Philadelphia, Medi 26—mewn ymladdfa yn Freehold, Meh. 27ain, 1778—curodd ymaith fel môr filwyr y llynges Ffrengig mewn ymladdfa ar y mor, a derbyniodd ddiolchgarwch cyhoeddus Arglwydd Howe, Medi 14eg—yng nghymeriad tref Siarl yn Carolina, 1780—ym muddugoliaeth Camden, ym mha un y dymchwelodd 2000 o Frutaniaid 6000 o Americaniaid—mewn ymladdfa yn Catawba—ym muddugoliaeth Guilford a gafodd 1447 o filwyr cyffredin Brutanaidd ar 7000 o Americaniaid; "yn ddiddadl," medd Syr Thomas Saumares, "y frwydr oreu a chaletaf a ymladdwyd yn y rhyfel Americanaidd."[1] Yr oedd y llu bychan dewrwych Brutanaidd ag oedd dan lyw Cornwallis yn awr wedi ei leihau i 5900 o wyr, pa rai yn fuan wedi hyny a warchaeid gan y fyddin gyngrheiriol Ffrengig ac Americanaidd yr hon a gynwysai 21,000 o wyr, yn nhref Efrawg, ac a orfodid i roddi fyny, Hyd. 17, 1781. Achubwyd banerau y 23ain, gan yr isgadben Peters, a dygwyd hwy i Loegr. Llawnodwyd cytundeb Versailles, drwy yr hwn y cydnabyddwyd Annibyniaeth yr Amerig gan Loegr, Ion. 20ed, 1783. Hyd 1793, arosai y 23ain ar wasanaeth cartrefol. Dechreuodd rhyfel Chwyldroadol Ffrainc Chwef. 1af, 1793. Gorchymynwyd y 23ain yn ddioed i fyned allan ar wasanaeth, a chymerodd ran yn y brwydrau canlynol:—yn Alkmaar, Hyd. 2, 1799—yn Angorfa Aboukir, yn yr Aipht, Mawrth 2il 1800—ym mrwydr Alexandria, Mawrth 21ain, yng ngâl-ammodiad (capitulation) Copenhagen, Medi 7ed, 1807—yn rhyfelgyrch Walcheren—yng nghymeriad Martinique, Chwef. 23, 1809—ym mrwydr Albuera, yn yr Hispaen, Mai 16eg, 1811, y fwyaf gwaedlyd o'r holl ryfeloedd Gorynysol (collodd y 23ain 14 o swyddogion drwy gael eu lladd a'u harcholli, yn y rhuthr gorchfygol a ddarlunir mor ardderchog gan Napier)—yn Ciudad Roderigo, Medi 25ain—yn rhuthrgyrch Badajos, Ion. 19eg, 1812, (lladdwyd ac archollwyd 19 o swyddogion)—ym muddugoliaeth Salamanca, Gorphenaf 22ain; yr oedd colledion y gatrawd yn y brwydrau ardderchog hyn y fath fel nad oedd allan o 1,000 o wyr a diriasant yn yr Hispaen ddim ond 72 yn unig wedi eu gadael. Yn Rhag. 1812—gan i gleifion a chlwyfedigion, &c. ail-ymuno â hi, codwyd ei chryfder i 300 o wroniaid, gweddillion saith câd ar faes—ym muddugoliaeth Vittoria, Meh. 21ain, 1813—yn Pampeluna, Gor. 28ain—gwnaeth y 23ain yn gyssylltiol â'i chwaer-gatrawd, y 7 Chwarfynwyr, a'r 20ed, a'r 40ed gatrodau, ruthr bedair gwaith gyda'r bidog, a lleihawyd eu nifer i 108 o wyr—croesi y Pyrenees, Awst 2il—yng ngymeriad San Sebastian, Awst 31—croesi y Nivelle, Tach. 11—ym mrwydr Orthes, Gor. 27ain, 1814 ym mrwydr Toulouse, Ebrill 10ed—mewn ymladdfa yn Bayonne, Ebrill 14eg—ym muddugoliaeth Waterloo, Meh. 18ed, 1815, (ymha le y cwympodd y gwronaidd Syr Harri Ellis, milwriad ac arweiniwr y gatrawd drwy saith mlynedd o ryfelaeth annyspeidiol, yn yr oedran cynnar o 32)—ffurfiodd ran o'r fyddin ag oedd yn dal Ffrainc mewn meddiant, o o.c. 1815 hyd 1818; dychwelodd adref, yn o.c. 1819—ar wasanaeth cartrefol a gwarchluyddol yn ystod y rhan arall o'r heddwch hir, 1819—1854. Cyflwynwyd iddi fanerau newyddion yng Nghaer Wynt, gan y Tywysog Albert, yr hwn, yn ei araeth ar yr achlysur, a ddywedodd, "ei fod yn teimlo yr hyfrydwch mwyaf gael bod y gwr i drosglwyddo y banerau hyn i gatrawd mor glodfawreddus."—Rhoddwyd yr hên fanerau i'w cadw yn Eglwys St. Pedr, Caerfyrddin.

Y rhyfel Rwssiaidd a gyhoeddwyd yn 1854. Gorchymynwyd y 23ain allan ar wasanaeth, a hwyliodd tua Gallipoli, Mai 10fed, ac ar yr 17eg o Fedi, glaniodd y gatrawd freiniol Gymreig hon dan lyw penaeth o waed Cymreig, arglwydd Raglan, yn yr Hên Gaerfa, ar làn y Crimea, cryd Dwyreiniol yr âch Omeraidd, o ba le erys mwy na 3600 o flynyddoedd cyn hyny yr ymfudodd ei chyndadau dan Hu Gadarn ac y daethant i gyfaneddu Prydain, (gwel tu dal. 16). *Ar yr 20fed*, mewn cysylltiad a'r Talfilwyr a Mynyddwyr yr Alban, *gwnaeth ruthr ar* frynian yr Alma, gan gymeryd meddiant o'r mangnelfa

Rwsiaidd â blaen y bidog. Cwympodd y milwriad Chester, y cadbeniaid Wynne, Evans, Conolly, yr is-gadbeniaid Anstruther, Butler, Radcliffe, Young —oll pan yn arwain ymlaen eu milwyr dan gawod o beleni ag oedd yn agor pob troedfedd o dir fel "maes wedi ei aredig." Cafwyd y cadben Wynne ar lawr a'i wyneb tua'r wybren, a gwèn dawel ar ei wynebpryd dewrwych, yn union o dan ffroen y magnelau Rwsiaidd. "Nis gellir darlunio," medd y cadfridog St. Arnaud, "y ffyrnigrwydd a'r penderfyniad gyda pha un y taflai y Chwarfynwyr Cymreig eu hunain ar y gelyn—nid allai ergydion parhaus dwy fagnelfa yn cael eu harllwys i'w rhengau, atal dim ar eu mynediad ymlaen." Gofynai y Cadfridog a oedd rhai swyddogion yn fyw, a dymunai gael ysgwyd llaw â hwynt. Ar y 25ain o Dachwedd yr oedd y 23ain ar waith drachefn yn Inkermann; ac ar y 10ed o Fedi, 1855, gosododd i fyny faner anhygof y Cymry, sef y ddraig goch, ar gaerau goresgynedig Sebastopol.

Mae y 23ain yn dwyn mwy o enwau brwydrau clodfawreddus ar ei banerau nag unrhyw gatrawd arall yn y gwasanaeth, sef Minden—Sphinx—yr Aifft—Coruna—Martinique—Albuera—Badajoz—Salamanca—Vittoria—Pyrenees—Nivelle—Orthes—Toulouse—Peninsula—Waterloo—Alma—Inkermann—Sebastopol.

Dygir ganddi ar ei banerau addurn-blyf Tywysog Cymru—y Ddraig Goch a'r March Gwyn (undeb Cymru a Lloegr)—yr haul yn codi. Arwyddair—"*Nec aspera terrent.*" Ni ddychryna anhawsderau monom.

Nis gallwn derfynu y brasluniad byr hwn o Hanes Hên Genedl yn well na thrwy adael i'w baner chwyfiaw mewn goruchafiaeth dros wlad bell eu genedigaeth, a'u meirwon gwronaidd huno yn achos rhyddid ac iawnder yn erbyn trais a gorthrymder, ochr yn ochr â charnedd feddrol eu cyndadau Dwyreiniol.

"Cymry fu—Cymry fydd."